# ANNERCH
Y
# CYMRY,

I'W GALW

Oddiwrth y llawer o bethau at yr un peth angenrheidiol, er mwyn cadw eu heneidiau;

HYN

I'w cyfarwyddo i adnabod Duw a CHRIST, yr hyn yw bywyd tragywyddol: A dysgu ganddo ef, mal y delont yn ddoethach nag eu hathrawon.

---

O Waith ELLIS PUGH.

---

*Argraffiad newydd a chywir.*

---

IER. ii. 13.

*Hwy a'm gadawsant i, ffynnon y dyfrodd byw, ac a gloddiasant iddynt ei hunain bydewau, ie bydewau wedi eu tori, ni ddaliant ddwfr.*

---

LLUNDAIN:
ARGRAFFEDIG GAN
WILLIAM PHILLIPS.
1801.

# CYNNWYSIAD.

# HANES YR AWDWR.

At y Darllenydd,

ELLIS PUGH á aned yn mhlwyf Dolgellau, swydd Feirionyn, Nghymru, yn y chweched mis yn y flwyddyn 1656. Ei rieni oeddynt bobl grefyddol; ac yntau á adawyd yn amddifad, fel aderyn y to unig a'r ben y Ty: Ei Dad wedi marw cyn ei eni, a'i Fam ychydig ddyddiau ar ol: A phan oedd yn ei ieuenctid, yn myned gyda'r lliaws i ynfydrwydd, rhyngoedd bodd i Dduw sefyll yn ei ffordd ef â'i farn, a pheri iddo ystyried y pethau á berthynai i dragywyddol heddwch ei enaid.[a] Ac yn dair ar bymtheg oed ymweloedd Duw ag ef yn fwy hynod, drwy ennynu Bryd ynddo i wasanaethu ei Greawdwr yn fanylach, gwedi cael ei gyrhaeddyd hefyd drwy dystiolaeth Sion ab Sion, un o'r bobl á elwir Crynwyr.[b]

[a] 1674.
[b] Amser yr oedd y bobl hyny dan Erlidiaeth.

 Duw,

Duw, yr hwn à addawoedd y byddai yn Dâd i'r amddifad, a'i hymgeleddoedd, ac a'i cynnysgaethoedd â'r râd; ac ynghylch y flwyddyn 1680, á roddes iddo ran o weinidogaeth Efengyl Crist; er nad oedd un o ddoethion y byd, nac wedi cael dysgeidaeth dynol, gwnaeth ef yn offeryn buddiol i droi amryw oddiwrth oferedd, ac i annog a chadarnâu llawer yn eu taith ysbrydol y'ngwlad ei enedigaeth, ac yn y wlad yma, lle gorphenoedd ei ymdaith.

Yn y flwyddyn 1686, efe a'i deulu, ac amryw o'u cydnabyddiaeth, á ddechreuasant eu taith i Bensilvania; a thra yr oeddynt yn aros am y llong i fod yn barod, daeth blinder a thrafferth mawr arno, hyd onid aeth ef yn glaf dros rai diwrnodiau; ac yn y cyfyngder hwnw Duw á ddangosoedd iddo y byddai trallodion a thrafferthion i gyfarfod â nhwy yn eu taith; a bod ganddo ef waith iddo yn y wlad hòno, ac y byddai raid iddo

ddychwelyd

ddychwelyd yno drachefn. Ar ol iddynt gychwyn, tymhestlodd, cyfyngderau, a blinder à gyfarfu â hwy; ac wedi bod ar y mor terfysglyd trwy y gauaf, yn y mis cyntaf hwy aethont i Farbadoes, lle y cawsont eu derbyn a'u croesawu yn gariadus gan eu cyfeillion; ac yn yr haf ar ol hyny, yn y flwyddyn 1687, y daethont i Bensilvania. Ar ol iddo fyw yno hyd y flwyddyn 1706, perthynas oedd yn aros arno ef am ymweled â thrigolion gwlad ei enedigaeth, yn ol y peth à ddatguddiasai Duw iddo cyn ei ddyfod oddiyno: Ar ol iddo gyflawni, y gwasanaeth hwnw, yr hyn á fu llesol, a chymmeradwy gan lawerodd, fe á ddychweloedd at ei deulu yn y flwyddyn 1708; a pherthynas à arosoedd arno i ysgrifenu y llyfyr sydd yn canlyn, i gyfarwyddo y Cymry annysgedig ac o isel radd, i adnabod Duw a Christ, y bywyd tragywyddol; yr hwn á ysgrifenoedd ef gan mwyaf yn ei glefyd diweddaf.

 Yr

Yr oedd ei ymddygiad yn ei deulu, yn ei gymmydogaeth, ac yn yr Eglwys, yn addfwyn, yn hawddgar, ac yn heddychol; a'i weinidogaeth yn fywiol, yn llesol, ac er adeiladaeth; ag ymarweddiad diniwed, yn ddiwair, ynghyd ag ofn Duw, yn barchedig ymhlith ei gyfeillion, ac o air da ymysg pob math ar bobl yn gyffredinol; yn amyneddgar yn ei glefyd, yr hwn à fu faith; yn fodlongar yn dysgwyl amser yr Arglwydd, ef â hunoedd gyda ei Dadau y trydydd dydd o'r degfed mis 1718, mewn derbyniad gyda Duw, gan roddi gogoniant iddo ef.

Y Darllenydd hawddgar, dyma iti beth cyfrif oblegid yr Awdwr, yr hwn â oedd wr yn ofni Duw, ac yn cilio oddiwrth ddrygioni. Darllen heb ragfarn, ystyria yn ddiduedd, a Duw a'th gyfarwyddo yn y ffordd fydd yn rhyngu bodd iddo ef,[c] mal y bo iti, yn

[c] 2 Tim. iv. 8.

y diwedd.

y diwedd, gael Coron Cyfiawnder, yr hon á rydd yr Arglwydd, y barnwr cyfiawn, i bawb à garant ei ymddangosiad ef

BYDD WYCH!

---

# TYSTIOLAETH

Y Cyfarfod Misol yn Ngwynedd, yn swydd Philadelphia yn Mhensilvania, oblegid ein Cyfaill ELLIS PUGH, Awdwr y Traethod sydd yn canlyn.

YR Arglwydd, o'i fawr drugaredd, á hir gyd-ddygoedd, ac á fynych alwoedd ar ein hol, ac á agoroedd ryw fesur ar ein golygon i weled y gwagedd, a'r oferedd yr oeddym yn ei ddilyn, ac yn yr amser hyny, mewn dychryn am ein heneidiau, yn ceisio ymbalfalu am y ffordd i ryngu bodd Duw: Ac yn nechreuad ein cynnulliad

ynghyd

ynghyd yn y cyflwr yma i ddyfgwyl wrth yr Arglwydd, fe weloedd yn dda barotôi ein cyfaill a'n cydwladwr ELLIS PUGH i fod yn offeryn buddiol yn ei law, i'n hymgeleddu, a'n hyfforddi, mewn addfwynder, a thynerwch, i roi ufydddod i'r hyn yr ydoedd Duw wedi ei hyfbyfu i ni o'i ewyllys, ac i ddilyn, ac adnabod gwaith ei yfbryd ef, yn egluráu ini ddichellion gelyn ein heneidiau; ei ewyllys da, a'i ymgeledd cariadus, à fu yn foddion mwy buddiol yn llaw yr Arglwydd ymhlith ereill, ac ydoedd wedi eu cymhwyfo at yr un gwafanaeth, tuag at ein cyfarwyddo, a'n adeiladu yn ffordd y gwirionedd, ma'r weinidogaeth y buom dani, o'n ieuenctid; oblegid yr oeddym yn credu fod ei ddyfgeidiaeth ef o Dduw, wrth y rhywiogrwydd, y tynerwch, a ydoedd fel gwlith yn difgyn ar ein heneidiau, tra byddem yn eiftedd tan ei dyftiolaeth; fe baráoedd yn yr

un diwydrwydd yn ei wasanaeth, hyd oni chafoedd yn ei galon fyned i ymweled a'i gydgenedl yn ngwlad ei enedigaeth.

Yr ydym yn credu fod ei ymweliad yn gymmeradwy lle yr ydoedd drws agored i'w dderbyn; wedi ei ddychweliad, ei wasanaeth, a'i fynych ymweliad ini á fu fuddiol.

I mae gyda ni grybwyll ychydig yn mherthynas ffyrdd yr Arglwydd tuag atto; oblegid yr hyn, i cymmerasom ni fylw, fod yr Arglwydd yn agos atto, yn amser ei brofedigaeth. Gwedi ei ddychweliad adref, tri o'i blant, yn mlodau eu hoedran á fuant feirw, tu fewn i'r un mis; y rhai o'u hieuenctid á rodiesynt yn weddus, ac yn obeithiol. Ef alaroedd, nid fel un heb obaith; cafoedd allu i ddwyn ei brofedigaeth; yr hyn dystiolaeth oedd yn gyhoeddus, i gysur y gwrandawyr. Mewn Cynnulliad Cyhoeddus, ymhlith amryw bethau ereill, á ydoedd

er adeiladaeth, efe á ddywedoedd, os byddai iddo allel ymddwyn yn ei brofedigaeth yn gymmeradwy y'ngolwg yr Arglwydd, y byddai hyny fel mer i'w esgyrn: Ei breswylfod, y pryd hyny, ydoedd nes attom, nog o'r blaen, yr hyn á ddygoedd ei fywyd, a'i fuchedd yn fwy hysbys, a'i gyfeillach yn fwy cartrefol i ni. Yr ydoedd ef o ysbryd addfwyn a llonydd, yn bwyllig ac yn arafaidd yn ei farn, yn anaml ei eiriau; a'i duedd ydoedd i gynnal, ac adeiladu cariad, ac undeb, rhwng pawb, yn fwy enwedig yn nheulu y ffydd; yn ei alwedigaeth yn onest, ac yn ofalus rhag rhoi achos cyfiawn i anesmwytho neb; yr hyn á ddygoedd amryw i ddywedyd am y lles à dderbyniesynt o herwydd ei ymddygiad diwair a'i ymddyddanion hoffus, tra buasai yn eu plith: yn eu hamryw deuluodd, eu coffadwriaeth am dano yn fuan nis diflanna.

Yr amser y daeth rhybudd attom

oblegid ymadawiad ein Cyfaill o'r bywyd yma, Griffith Owen (gwr haeddol o goffadwriaeth yn yr eglwys a'r wladwriaeth, yr hwn y mae ei enw, o arogl da, yn y lle amlwg yr ydoedd ef yn byw, o ran ei ymarweddiad bucheddol, yn ei alwedigaeth ymhlith y bobl o bob gradd) á oedd yn cydweithio ag ef y pryd hyny y cymmeroedd dolur ef, bob yn ychydig á brifioedd yn glefyd marwolaeth iddo; yr hyn afiechyd, á ddywed, "á barâes ynghylch blwyddyn a thri mis, heb allel fawr ddilyn ei alwedigaeth: Yn y cyfamser ei fywyd anianol oedd yn gwanychu, ond ei ganwyll, sef goleuni ei enaid ydoedd yn llewyrchu yn oleuach, fel y gall y darllenydd diduedd ganfod, a theimlo ei gariad a'i ewyllys da, yn y traethawd sydd yn canlyn, megis ei ewyllys diweddaf, o Annerchiad cariadus at ei Gydgenedl y Cymry y'ngwlad ei enedigaeth; yr hyn á ysgrifenoedd ef a'i law, yn ei iaith ei hun, yn amser ei hir glefyd,

glefyd, y pryd yr ydoedd gwrthrych ei olwg tu ag at yr hyn oedd yn perthyn i dragywyddoldeb; yn fwyaf penodol at y rhai, neu er mwyn y rhai, yr ydoedd annerchiad ei fywyd, tros for a thir, yn cyrhaedd, er annogaeth a chyfarwyddyd i'r rhai ydoedd yn ymofyn y ffordd i Sion, yr Ierufalem Newydd, Dinas y Brenin mawr, yr hon i mae iechydwriaeth yn gaerau ac yn rhagfur iddi; am ogoniant yr hon i mae llawer yn fon, ac yn yfgrifenu am dani, ymhlith addefwyr Cred, drwy aftudio, a rhagfyfyrio, i grynôi, drwy rym dyfgeidiaeth, a doethineb dynol, i ddal allan harddwch a godidogrwydd hon, fef priod yr Oen. Cei weled, os darlleni yn ddiduedd, yr hyn à brofoedd ac a deimloedd ef o ddaionus air y bywyd, ac o'r ffordd fydd yn arwain at y Tâd, yn yr hon yr ym ni yn credu y gorphwyfoedd, ac y rhoddoedd ei ben i lawr mewn heddwch."

"Yn amser ei ddolur, tra bu ef yn gallel rhodio o amgylch, yn agos at ei ddiwedd, fe ymweloedd â ni, sef y Cyfarfod Diweddaf y bu ef yn ein plith, yn wan yn ei gorph, etto yn wresog yn ei ysbryd, gyda llawer o rywiogrwydd a thynerwch, fel un yn canu yn iach y tro diweddaf, gan ddywedyd iddo gael ei ddymuniad gan yr Arglwydd, i ddyfod i ymweled â ni unwaith ychwaneg. Gan fynych gofio ini am ymgadw yn yr undeb a'r cariad, a chadw allan o'n plith, hyd y gallem, bob ymryson a gwahaniaeth; a phan ymddanghosai dim ag à fai yn tueddu at hyny, gosod dwylaw yn ebrwydd, i'w ddiweddu, ac na byddai i neb ymddiried i'w law, i'w lygad, nag i'w glorian ei hun, mewn barn."

Yr ydoedd ef wedi ei gymhwyso i gynghori ereill, o herwydd bod ei fywyd a'i ymarweddiad yn gyfattebol i'w dystiolaeth; ymhlith ei deulu yn

dyner, ac yn ofalus i'w cynghori i fyw gan ofni Duw.

Yr ydoedd ein golwg ni arno, a'n meddwl am dano, ei fod fel un wedi gorphen ei waith, a bod amser ei ymddattodiad yn agos, ac y gallai fe ddywedyd y'ngeiriau Paul, yn ol ei fesur, myfi ymdrechais ymdrech deg, mi orphenais fy ngyrfa, mi gedwais y ffydd, o hyn allan rhoddwyd Coron Cyfiawnder i'w chadw imi, yr hon á rydd yr Arglwydd y Barnwr cyfiawn imi yn y dydd hwnw, ac nid yn unig i mi, ond hefyd i bawb à garant ei ymddangosiad ef."

A gadarnâwyd yn enw y dywededig Gyfarfod gan

| | |
|---|---|
| John Hugh, | David Meredith, |
| Edward Foulk, | Thomas Evan, |
| John Humphrey, | Robert Evan, |
| Edward Robert | Owen Evan, |
| Hugh Griffith, | Cadwalader Evan, |
| Meredith David, | Robert Jones, |
| Thomas Pugh, | Evan Evans, |
| Rowland Ellis | John Evans. |

# ANERCH Y CYMRY.

## Y BENNOD GYNTAF.

### *Am y Cread, Cwymp a Phrynniad Dyn.*

YN y dechreuad y creoedd Duw bob peth wrth ei fodd ei hunan, a dyn ar ei ddelw ei hun, uwchlaw yr holl greaduriaid, mewn cyflwr pur, yn gymhwys i wasanaethu, ac i anrhydeddu ei Greawdwr: ond y sarph, yr ysbryd cyfrwys gelyniaethol, á dwylloedd Efa, a hi á weloedd fod y Ffrwyth gwaharddedig yn beth dymunol; felly Adda ac Efa á dorasant y gorchymmyn, trwy ufyddâu i'r un

 drwg,

drwg, ac anufyddâu i Dduw, yno pechod a llygredigaeth á gymmeroedd afael ar ddynol-ryw. Ond eu Tâd trugarog á ymweloedd â hwy gydag awel y dydd, i'w ceryddu, ac i'w ymgeleddu; yr hwn á ddywedoedd, y cae hâd y wraig figo pen y farph; felly ffrwd o lygredigaeth pechod ac anufydddod á ddilynoedd blant dynion, fel gwahanglwyf; ond hâd y wraig oedd y cynnorthwy a'r amddiffyn, à roddes Duw iddynt, fel y gallent orchyfugu Satan, yr hwn hâd yw Crift, yr un, yr hwn á laddwyd, er feiliad y byd (o lygredigaeth yn nghalonau dynion) ac efe á drefnwyd hefyd i farw yn gorphorol y'nghyflawnder amfer, i brynu dynion, ac i'w dwyn adref at eu Tâd, ac i wneuthur eu Cymmod, canys ef á roddwyd yn oleuni i'r Cenedlodd, ac yn Iechydwriaeth hyd eithaf y ddaiar.[d] Ac er i Satan, a llygredigaeth, wneuthur y

[d] Efay xlix. 6.

dynion

dynion yn anghymhwys ac yn analluol o *h*onynt eu hunain i wneuthur dim gwasanaeth cymmeradwy i'w gwneuthurwr; etto drwy gymhorth y Gair tragywyddol, a'r goleuni yr hwn á oleuoedd bob dyn à ddaeth i'r byd, fe ddarfu i'r gwyr duwiol, yn yr oesodd gynt wasanaethu Duw wrth ei fodd; canys y grefydd yr oedd yr Arglwydd yn ei chanmol, oedd crefydd Iob, oblegid fe á ddywedoedd wrth Satan,[e] A roddaist ti dy galon, neu á ddeliaist ti ar fy ngwâs Iob, nad oes gyffelyb iddo ar y ddaiar yn wr cywir ac uniawn, yn ofni Duw, ac yn cilio oddiwrth ddrygioni.

Ac fel y dywedoedd y gwr doeth, sum y cwbl á glybuwyd, yw ofna Dduw, a chadw ei orchymmynion: Canys hyn yw holl ddyled dyn. Ond pob math o bechodau, a drygioni á dyfoedd ymhlith dynion pryd y cydnabyddynt fod rhyw wasanaeth yn ddyl-

[e] Iob i. 8.

odus i'r Arglwydd, oddiar eu dwylaw Satan á ddyſgai iddynt ddychymmyg rhyw lun, rhyw eulyn o waſanaeth, ac addoliad; rhai fel hyn, ac ereill mewn modd arall, i geiſio bodloni Duw, heb ei ofn ef, na rhoddi ufydd-dod iddo.

Pawb yn derchafu ei heulynod eu hunain, ac yn ymgrymu iddynt, felly y byd á lanwoedd, o goelgrefyddau ac amcanion; a'r diafol, fel hyn, à roddes ddynion ar waith i gaſâu eu gilydd, ac i ryfela, a thywallt gwaed eu gilydd; felly efe á wnaeth y byd yn anialwch, ac yn dywyllwch, a llywodraethoedd ynddo. Am hyny i galwyd ef tywyſog y byd hwn;[f] hefyd tywyſog llywodraeth yr awyr, yr yſbryd ſydd yn gweithio y'mhlant yr anufydddod.

Ac fel yr oedd Satan yn tori i mewn i bob gwinllan, am hyny yr oedd cwyn yr Arglwydd, trwy ei Broph-

[f] Iob xiv. 30 Ephef. ii. 2.

wyd,

wyd, yn erbyn plant Israel:[s] Hwy a'm gadawsant fi, ffynnon y dyfrodd byw, ac á gloddiasant iddynt eu hunain bydewau wedi tori, y rhai ni ddalient ddwfr. Canys gwell oedd, ac ydyw etto gan ddynion, y'nghyfslwr natur, eu dyfrodd ffiaidd eu hunain, na dwfr y bywyd, yr hwn y mae Crist yn ei roddi i'r sawl sydd yn dyfod atto ef, yr hwn ddwfr sydd yn golchi, ac yn iachau yr eneidiau: ond i mae y gelyn yn gosod dynion ar waith i gloddio pydewau am ddyfrodd meirwon, a gwenwynig, y rhai i mae ef yn ei wneuthur yn felys, ac yn ddymunol i chwantau cig a gwaed. Ond er hyn i gyd, yr oedd Duw yn parâu yn ei gariad, a'i drugaredd, tuag at waith ei ddwylaw, gan foreugodi, a danfon ei brophwydi i'w galw, ac i'w gwahoddi trwy gyhoeddi iddynt ammodau heddwch, os dychwelent

[s] Ier. ii. 13.

 atto

atto ef, oddiwrth eu ffyrdd drygionus, megis ac y gwelir.

[h] O! deuwch i'r dyfrodd, bob un y mae syched arno; ie yr hwn nid oes arian ganddo: Deuwch, prynwch, a bwytêwch; ie deuwch, prynwch wîn a llaeth heb arian, ac heb werth. Paham y gweriwch arian am yr hyn nid ydyw fara, a'ch llafur am yr hyn nid yw yn digoni? Gan wrando, gwrandewch arnafi, a bwytêwch yr hyn sy dda; ac ymhyfryded eich enaid mewn brasder; gogwyddwch eich clust, a deuwch attaf; gwrandewch a bydd byw eich enaid; ac mi á wnaf gyfammod tragywyddol â chwi, sef sicr drugareddau Dafydd. Ceisiwch yr Arglwydd tra y galler ei gael ef; gelwch arno tra byddo yn agos. Gadawed y drygionus ei ffordd, a'r gwr anwir ei feddyliau, a dychweled at yr Arglwydd, ac efe á gymmer drugaredd arno, ac at ein Duw ni, o her-

[h] Esay lv. 1, 2, 3. 6, 7, 8.

wydd

wydd efe á arbed yn helaeth. Canys nid fy meddyliau i yw eich myddyliau chwi; ac nid eich ffyrdd chwi yw fy ffyrdd i, medd yr Arglwydd.

Ac y mae tyſtiolaethau y gwir brophwydi yn gyflawn o'r un fath wahoddiadau, ar yr un ammodau, ſef troi at yr Arglwydd, oddiwrth anwiredd. Ond gwell oedd gan ddynion eu ffyrdd eu hunain, a'u meddyliau eu hunain, a'u prophwydi eu hunain, na rhai yr Arglwydd. Canys yr oedd y gwir brophwydi yn cyhoeddi gwae, a diniſtr yn eu herbyn, am eu pechodau, oni ddychwelynt at yr Arglwydd, oddiwrth eu drwg fucheddau; ond yr oedd y gau brophwydi yn crio heddwch i'r annuwolion, gan ddyweddyd, onid yw yr Arglwydd yn ein plith? ni ddaw drwg arnom; cleddyf a newyn ni bydd yn y tir hwn.

Ac fel y mae yn naturiol i gig a gwaed goelio y goreu am danynt eu hunain: A choelio y gwaethaf am y

rhai

rhai à ddywedo yn eu herbyn; am hyny hwy á gasâent y gwir brophwydi, ac a'u herlidient, gan eu lladd megis gau brophwydi. Felly y bu yn nyddiau Ahab, yr oedd Meibion Israel wedi gwrthod Cyfammod yr Arglwydd, a distrywio ei allorau ef,[1] a lladd ei brophwydi a'r cleddyf; a phentyru iddynt eu hunain synteiodd o'r gau brophwydi: Felly nid heb achos yr oedd yr Arglwydd yn cwyno, Gwrandewch nefodd; clyw dithau ddaiar, canys yr Arglwydd á lefaroedd; megais a meithrinais feibion, a hwy á wrthryfelasant i'm herbyn. Yr ych á edwyn ei feddiannydd, a'r asyn breseb ei berchenog; ond Israel nid edwyn, fy mhobl ni ddeall. Ond er hyny, y Duw hwyrfrydig i ddig, a mawr ei drugaredd, efe á ddanfonoedd ei unig-anedig Fâb at y gwinllanwyr gwrthryfelgar i gael ei ladd; yr hwn á fu fodlon i farw dros bechad-

[1] Bren. xix. 20.

uriaid,

uriaid, i'w gollwng yn rhydd o'u caethiwed; yr hwn, pan ei ganwyd yn Bethlehem Iudea, fe á ddanfonoedd yr Arglwydd ei Angel i hysbysu i'r bugeiliaid, nid i'r gwyr doethion, a dysgedig, llawn o gyfiawnderau hunanol, ond i'r rhai tylodion, truain, anllythyrenog, y rhai o isel radd,[k] y cyfryw oedd yn gwilied eu praidd liw nos. A'r Angel á safoedd gerllaw iddynt, a gogoniant yr Arglwydd á ddysgleirioedd o'u hamgylch, ac ofni yn ddirfawr á wnaethant. A'r Angel á ddywedoedd wrthynt, nag ofnwch; canys wele yr wyfi yn mynegi i chwi newyddion da, o lawenydd mawr, yr hwn à fydd i'r holl bobl. Canys ganwyd i chwi heddyw geidwad yn ninas Dafydd, yr hwn yw Crist yr Arglwydd. A hyn fydd arwydd i chwi: Chwi á gewch y dyn bach, wedi ei rwymo, mewn cadachau, a'i ddodi yn y preseb. Ac

k Luc. ii. 9, 10, 11, 12, 13, 14, 15, 16. 17.

yn ddisymwth yr oedd gyda'r Angel liaws o lu nefol, yn moliannu Duw, ac yn dywedyd, Gogoniant yn y goruchaf i Dduw, ac ar y ddaiar tangnefedd, i ddynion ewyllys da. A bu, pan aeth yr angylion ymaith oddiwrthynt i'r nef, y bugeiliaid hwythau á ddywedasant wrth eu gilydd, Awn hyd Bethlehem, a gwelwn y peth hyn á wnaethpwyd, yr hwn á hysbysoedd yr Arglwydd i ni. A hwy á ddaethant ar frys, ac á gawsant Mair a Ioseph, a'r dyn bach yn gorwedd yn y preseb. A phan welsant, hwy á gyhoeddasant y gair à ddywedasid wrthynt am y bachgen hwn. A phawb ar a'u clywsant á ryfeddasant am y pethau á ddywedasid gan y bugeiliaid wrthynt. Eithr Mair á gadwoedd y pethau hyn oll, gan eu hystyried yn ei chalon. A'r bugeiliaid á ddychwelasant, gan ogoneddu, a moliannu Duw am yr holl bethau á glywsent, ac á welsent, fel y dywedasid wrthynt.

Dyma

Dyma y ſath bobl â bregethaſant Criſt ar ei Enedigaeth, i ryfeddod eu gwrandawyr, y rhai hyn â gredaſant, ac â dderbyniaſant y genadwri nefol, ac â wnaethant frys i fyned i'w weled ef; a gwedi ei weled, hwy â gredaſant ynddo, ac â ddychwelaſant dan ogoneddu a moliannu Duw. Ni thramgwyddoedd y bugeiliaid ddim wrth ei ymddangoſiad ef, er ei fod yn gorwedd yn y preſeb, mewn cadachau; ond nid dyna y ſath frenin, yr oedd y gwyr doethion, a'r penaethiaid yn ymofyn am dano. Pan ddaeth yr amſer i'r Ieſu i gyflawni ei weinidogaeth i bregethu, ac i wneuthur gwrthiau, nis gallai y byd dderbyn mono ef, na'i adnabod, oblegid nid eu ffordd hwy, oedd ei ffordd ef. Ond pwy a'i derbynioedd? Y rhai tylodion annyſgedig, pyſgodwyr, a'r gwyr o iſel radd; y rhai hyn hefyd â ddewiſoedd yntau iddo yn ddyſgyblion; yr oedd y rhai hyn heb eu

llenwi

llenwi â chyfiawnderau hunanol, na thyb uchel am danynt eu hunain, nag am eu crefydd; yr oedd ganddynt le i dderbyn teyrnas Duw: Am hyny hwy à adawsant bob peth, ac à ddilynasant Crist, yr hwn à ddaeth i roddi diwedd ar yr amryw Offrymau, Aberthau, a Defodau, y rhai oedd gysgodau, yn arwyddo ei ddyfodiad ef, yr hwn ydyw yr Aberth mawr tragywyddol, yr hwn sydd yn rhoddi diwedd ar y cwbl, gan eu cyflawni â'i un Aberth ei hunan; â'r hwn y prynoedd ef holl ddynol-ryw, drwy ddwyn i mewn y Cyfammod newydd, a gweinidogaeth fwy nefol, a mwy ysbrydol. Ond er bod yr archoffeiriaid, a'r ysgrifenyddion, a'r pharisseaid yn darllen, ac yn dysgwyl am ddyfodiad Crist, er hyny nid oeddynt hwy yn ei adnabod ef, na'i dderbyn, na chredu; oblegid nad oedd ef wrth eu bodd hwy; canys yr oedd efe yn tystio yn eu herbyn hwynt a'u ffyrdd anwireddus.

anwireddus. Ac er iddo wneuthur yn eu plith wrthiau nefol, ſef iachâu pob math o ddoluriau a chyfodi y meirw; ond er hyny, nid oedd lle i'w air ef ynddynt; canys yr oeddynt hwy yn llawn o ddoethineb dynol, a daiarol, ac ni fynent ddyfod atto ef, fel y caent fywyd; ond fwyfwy ei gaſâu, a myned yn elynion iddo. Ac mewn gwirionedd, hwn yw y maen à wrthodwyd gan yr adeiliadwyr y'mhob oes. Dyma y gair à wnaethpwyd yn gnawd, ac à drigoedd yn ein plith ni (ſef y pyſgodwyr anllythyrenog, tylodion, o iſel radd), Ac ni á welſom ei ogoniant ef, gogoniant megys yr Unig-anedig oddiwrth y Tâd, yn llawn rhâd a gwirionedd.[1] Ond medd rhyw un, pa fodd y daeth y gwyr annyſgedig hyny i adnabod Criſt? A'r gwyr dyſgedig heb ei adnabod ef? Yr atteb yw, am fod y pyſgodwyr yn dylodion yn eu hyſ-

[1] Ioh i. 1.

 bryd.

bryd. Am hyny yr oedd teyrnas nefodd i fod yn eiddo iddynt.[a] Y rhai tylodion ſydd yn adnabod newyn a ſyched am gyfiawnder; y mae addewid iddynt gael eu diwallu; mae y rhai hyn yn adnabod eu Hachubwr, wrth ei râd, ei rinwedd a'i yſbrydoliaeth nefol; canys yr oedd Duw yn ei ddatguddio ef iddynt. Canys pan ddywedoedd Petr,[a] Tydi yw Criſt, Mâb y Duw byw, yr atteb oedd, Nid cig a gwaed á ddatguddioedd hyn iti, ond fy Nhâd, yr hwn ſydd yn y nefodd.

Yr oedd y rhai hyn yn weigion, ac mewn teimlad o'u heiſiau a ſyched eu heneidiau; am hyny yr oeddynt hwy yn barod i ddyfod at y ffynnon, ac i yfed o'r dwfr bywiol, yr hwn oedd felys iddynt. Ac am hyny yr oeddynt hwy yn caru Criſt, ac yn glynu wrtho, ac yr oedd ef hefyd yn adnabod, ac

[a] Mal. v. 7. [a] Matth. xvi. 17.

yn

yn gwybod pwy oedd y rhai clwyfus, ac arnynt eisiau meddyg.

Am hyny yr oedd ef yn eu galw hwynt. Ac wedi iddynt adnabod ei werthfawrogrwydd, yr oeddynt yn gallu dywedyd,[o] At bwy yr awn ni? genyt ti y mae geiriau bywyd tragywyddol.

Ond y gwyr doethion, a dysgedig, yr oeddynt hwy yn llawnion, ac nid oedd ganddynt mo'r lle i dderbyn; yr oeddynt hwy yn iâch, ac nid oedd arnynt eisiau meddyg, nid oeddynt hwy ychwaith yn ymofyn am beth mor wael, ac mor ddirmygus ag oedd Crist yn eu golwg hwynt.[p] Am hyny eisieu bod ei ymddangosiad ef oddiallan yn fwy gogoneddus i atteb eu meddyliau, hwynt a'i gwrthodasant ef, yr hwn oedd y maen i fod yn ben i'r gongl, ac oedd ffynnon y dwfr byw, a goleuni y bywyd.

Ond er hyny fe gafoedd Crist ddilyn-

[o] Ioan vi. 68 [p] Psalm cxii. 22. Mat. xxi. 42. Dat. vii. 17.

wyr, y rhai, oblegid y tylodi yſbryd-
ol à henwed o'r blaen, á wnaeth
iddo ef eu dewis hwy; a nhwythau
i'w ddewis yntau i'r cyfryw rai y
dyſgoedd ef gyfraith y Cyfammod
newydd, yr hon ſydd yn rhagori ar
un Moſes, gan bregethu iddynt efengyl
teyrnas Duw, a'i roddi ei hunan allan
iddynt yn ffordd, yn oleuni, yn yſbryd,
yn ſywyd, yn arweinydd, yn ffynnon,
yn winwydden, ac yn fugail, yn y
cyfryw ffordd nas gallai, ac nis gall
y byd dderbyn mono; ond yn hytrach
ei wrthod, a dywedyd yn ei erbyn,
megys ag y gwelir heddyw ymhlith
addefwyr Cred.

YR

# YR AIL BENNOD.

*Am yr Ysgrythyrau, ac Ymddangosiad Ysbrydol ein Iachawdwr.*

CRIST á ddywedoedd, [a] Myfi yw y ffordd, a'r gwirionedd, a'r bywyd; nid yw neb yn dyfod at y Tâd, ond trwof fi. Ond hwy à ddywedant, yr ysgrythyr ydyw y ffordd, sydd i'n harwain ni at y Tâd; a'r ysgrythyr yw y gwirionedd sydd i'n dysgu, ac i'n cyfarwyddo, ac i ddywedyd i ni ewyllys Duw, a'i orchymmynion, ac felly yr ym ni yn gobeithio cael bywyd.

Ond pa ysgrythyrau sydd yn dywedyd i ni fod y bywyd yn sefyll yn y traethawd, nag yn yr ysgrifen? neu Ond yw yr holl ysgrythyrau yn cyfarwyddo, ac yn galw pobl at Grist?

[a] Ioan xiv. 6.

 Ac

Ac yntau yn galw atto ei hunan? Efe â ddywedoedd wrth yr Iuddewon, y rhai oedd yn cweryllu yn ei erbyn,[r] Chwiliwch yr ysgrythyrau, canys ynddynt hwy yr ydych chwi yn meddwl cael bywyd tragywyddol; a hwynt hwy yw y rhai sydd yn tystiolaethu am danaf. Ond ni fynwch chwi ddyfod attafi, fel y caffoch fywyd.

Ac onid ydyw addefwyr yr oes hon yn gymhwys o'r un feddwl a'r addefwyr hyny; nhwy â fynant gael bywyd yn yr ysgrythyrau, ond ni fynant hwy mo Grist, yr hwn ydyw y bywyd. Yr Iesu â ddywedoedd,[s] Goleuni y byd ydwyfi; yr hwn a'm dilyno ni rodia mewn tywyllwch, eithr efe â gaiff oleuni y bywyd. Ond hwy â ddywedant mai yr ysgrythyr yw y goleuni goreu, yr hwn y dylai pawb ei ddilyn; yr hwn sydd (meddant hwy) yn ddigonol i arwain dynion i iechydwriaeth. Ond dyma dywyll-

[r] Ioan v. 39, 40. [s] Ioan viii. 12.

wch,

wch, cabledd, a chyfeiliornedd, fef dodi yr yfgrythyr o flaen, ac uwchlaw Crift, a'i gwneuthur yn fwy digonol i arwain i iechydwriaeth? Yr hyn nis gallant mo'i wneuthur allan. Ond Crift á roddwyd yn ben, uwchlaw pob peth, i'r Eglwys.

Ond cyd-ddygwch â myfi i ddadlëu ychydig y'mhlaid y gwirionedd yn ngeiriau yr yfgrythyrau. Yn y lle cyntaf, i'r wyfi yn coelio, nad oes neb à gais wadu, ond bod yn rhaid i bawb fydd tan enw Criftion, gyfadd-eu, mai Crift ydyw y gair yr hwn á wnaethpwyd yn gnawd, ac á drigoedd ymhlith ei apoftolion.[t] Beth gan hyny, ond hwn oedd y gair oedd o'r dechreuad gyda Duw?[u] A Duw oedd y gair. Trwyddo ef y gwnaethpwyd pob peth. Ynddo ef yr oedd y bywyd, a'r bywyd oedd oleuni dynion. Yr oedd gwr wedi ei anfon oddiwrth Dduw, a'i enw Ioan: hwn

[t] Ioan i. 14. [u] Ioan i. 1, 3, 4, 6, 7, 8, 9, 10, 12.

á ddaeth

á ddaeth i ddwyn tyſtiolaeth am y goleuni. Nid efe oedd y goleuni, eithr efe á anfonesid, fel y tyſtiolaethai am y goleuni. Ond paham nas gellir dywedyd yr un modd? Mae yr yſgrythyr wedi ei danfon oddiwrth Dduw i ddwyn tyſtiolaeth am y goleuni; ond nid yr yſgrythyr yw y goleuni; eithr hi anfonwyd fel y tyſtiolaethai am y goleuni; ond hwn ydoedd y gwir oleuni, yr hwn ſydd yn goleuo pob dyn ar ſydd yn dyfod i'r byd; yr hyn nis gellir mo'i ddywedyd am yr yſgrythyr, canys nid oes ond rhan fach o'r byd wedi derbyn yr yſgrythyrau, a llawer o'r rhai hyny etto heb dderbyn y gwir oleuni, yr hwn ſydd yn goleuo pob dyn, gan lewyrchu yn y tywyllwch y'nghalonau dynion; a'r tywyllwch heb ei amgyffred ef, a'r byd heb ei adnabod, na'i dderbyn. Ond cynnifer ag a'i derbyniaſant ef, efe á roddes idynt allu i fod yn feibion i Dduw; ſef i'r ſawl á gredant yn ei

enw ef. Ond i mae profiad yn dywedyd i ni y gall dynion dderbyn yr ysgrythyrau, a'u darllen, heb dderbyn gallu i fod yn blant i Dduw; canys mae y gallu, a'r bywyd yn Nghrist, yr hwn yw y gwir oleuni; y sawl sydd yn derbyn y goleuni yma, ac yn rhodio ynddo; mae y rhai hyn yn cael cymdeithas a'u gilydd: A gwaed Iesu Grist sydd yn eu glanâu hwynt, oddiwrth bob pechod. Ond i mae addefwyr Crêd, y rhai sydd yn derchafu yr ysgrythyrau uwchlaw Crist, mewn amrafaelion yn erbyn eu gilydd; i maent hefyd yn gwrthod y ffynnon, lle y gallent gael eu golchi. Ond hwn yw yr un i mae y byd yn ei gasâu?* A hon yw y farnedigaeth, ddyfod goleuni i'r byd, a charu o ddynion y tywyllwch, yn fwy na'r goleuni; canys yr oedd eu gweithredodd hwy yn ddrwg. O herwydd pob un ag sydd yn gwneuthur drwg,

* Ioan iii. 19, 20, 21.

ſydd yn casâu y goleuni, ac nid yw yn dyfod i'r goleuni, fel nad argyhoedder ei weithredodd. Ond yr hwn ſydd yn gwneuthur gwirionedd, ſydd yn dyfod i'r goleuni, fel yr eglurâer ei weithredodd, mai yn Nuw y gwnaed hwynt.

Mae yn eglur yma yr achos, paham y mae dynion yn caru y tywyllwch, am fod yn eſmwythach iddynt bechu yn y tywyll; a chaſâu y goleuni, am ei fod yn amlygu eu holl weithredodd drwg hwynt, ac yn eu hargyhoeddi yn eu calonau eu hunain. Ac yn gymaint nad ydynt hwy yn adnabod mo hono ef, na'i rinweddau, ddim pellach na rhyw beth yn eu hargyhoeddi, ac nad ydynt yn bwriadu mo'r dychwelyd wrth ei gerydd ef, ond i gaſglu rheſymau i ddywedyd, ac i ddadleu yn ei erbyn; nad yw ef ddim ond goleuni anianol; ac nad yw ef yn ddigonol i arwain i iechydwriaeth. Ond mewn gwirionedd, os

nad

nad yw Crist, fel i mae efe, yn Dduw, â phob gallu ynddo; ac fel y mae ef yn air tragywyddol, yn Ysbryd Glân, yn fywyd, ac yn oleuni, a phob gwir ddoethineb, a gwybodaeth wedi ei drysori ynddo, yn abl i arwain i iechydwriaeth; nis gwn i pa beth sydd abl ond hwn, yr ysbryd yr hwn sydd yn tywys i bob gwirionedd, yr hwn yr oedd Crist yn dywedyd am dano,[*] Ysbryd y Gwirionedd, yr hwn ni ddichon y byd ei dderbyn; am nad yw yn ei weled, nag yn ei adnabod. Ond chwi a'i hadwaenoch ef, o herwydd y mae yn aros gyda chwi, ac ynoch y bydd efe. Nis gadawaf chwi yn amddifad: mi à ddeuaf attoch chwi. Y dydd hwnw y gwybyddwch fy mod i yn fy Nhàd, a chwithau ynofi, a minnau ynoch chwithau.

Ond ni fyn addefwyr yr oes hon fod mo Grist yn ei bobl. Pa fodd wrth hyny y maent yn eiddo Crist;

[*] Ioan xiv. 17, 20.

oblegid

oblegid [y] yr hwn fydd heb yſbryd ganddo, nid yw hwnw yn eiddo ef. Ac os yw Criſt ynoch, i mae y corph yn farw, o herwydd pechod; eithr yr yſbryd yn fywyd, o herwydd cyfiawnder. Canys pan ydyw Criſt yn dyfod i gymmeryd meddiant y'nghalonau dynion, y mae ef yn goſod i fyny ei deyrnas, a'i gyfraith, a'i lywodraeth ſef deddf yſbryd y bywyd, yr hon ſydd yn rhyddâu oddiwrth ddeddf pechod a marwolaeth. Yno y mae diafol yn colli ei deyrnas, ac yn colli eid deiliaid, yn colli ei lywodraeth y'nghalonau dynion, pan ydyw Criſt yn dyfod i'w fwrw allan, ac i gymmeryd y meddiant. Am hyny mae yr hen elyn cyfrwys yn rhoddi ei holl ddichellion ar waith, i gadw plant y byd yn ei deyrnas dywyll, gan ganiatâu iddynt bob math o foddion oddiallan i'w trwſio eu hunain i ymddangos yn grefyddol, ac i'w

[y] Rhuf viii. 9, 10.

gwneuthur yn rhyfygus, ac yn hyderus o'u bod yn y ffordd.

Hwy á gânt y faint â fynont o draddodiadau, a defodau eglwyfig: hwy á gânt ddarllen yr yfgrythyrau, a phob llyfrau ar à fynont; a hwy á gânt fon am Grift: iddo ef farw troftynt, a'i gyfodi, a'i dderchafu i'r nefodd, a'i fod ef yn eiftedd ar ddeheulaw y mawredd. Canys y mae gan Satan ddigon o brofiad, nad ydyw hyn i gyd yn attebol i ddwyn ei weifion allan o'i law; am hyny fe á ganiatêiff iddynt gael pob peth, ond adnabyddiaeth o Grift oddifewn, gobaith y gogoniant. Fe á ddywedoedd yr apoftol,[z] Profwch chwy-chwi eich hunain, á ydych yn y ffydd; holwch eich hunain, ai nid ydych yn adnabod eich hunain, fef bod Iefu Grift ynoch, oddieithr i chwi fod yn anghymmeradwy. Fe á wyr Satan hyn, ond nis mynai ef i'w ddeiliaid,

[z] 2 Cor. xiii. 6.

mo'u bod yn ei wybod. Am hyny dynion a'u cyfrifant eu hunain, eu bod yn y ffydd, ac yn ddigon cymmeradwy, er nad ydynt yn adnabod Crist ynddynt, yn oleuni i oleuo arnynt, ac i ddangos eu cyflwr iddynt: fel ac y mae ef yn yspryd y gwirionedd i'w tywys i bob gwirionedd; fel y mae ef yn fywyd tragywyddol, i fywâu, ac i iachâu yr eneidiau clwyfus llwythog, a blinderog: Ac i'w symmud o deyrnas y tywyllwch i'w deyrnas ei hunan, i fod dan ei lywodraeth, fel y byddo iddo drigo ynddynt hwy, a nhwythau ynddo yntau. Dyma lle y mae Satan yn colli y maes, a'i ddichellion yn cael eu hegluro. Canys ped fae gan ddyn yr holl lyfrau, a'r hyll wybodaeth ar sydd yn y byd, a gwybod gwyddorion pob crefydd, a'u trysori hwynt yn ei ben; ond etto, heb i Grist gymmeryd gafael ar ei galon, a meddiant ynddi, mae yno er hyny igyd, le i ddiafol i nythu ac i

weithio,

weithio, ac i gadw meddiant; canys pa le nad yw Crist yn cael lle i weithio ar galonau dynion, mae Satan yn sicr ddigon o fod yno yn gweithio; canys efe ydyw yr ysbryd sydd yn gweithio y'mhlant yr anufydddod: y mae ef yn eu harwain i bob drygioni.

Ond y rheol á addawoedd Crist roddi i'w ddilynwyr i rodio wrthi, ac i fod gyda hwynt hyd ddiwedd y byd, oedd ei ysbryd ef ei hunan.* Wele yr wyfi gyda chwi hyd y diwedd. Mi á weddiaf ar y Tâd, ac efe á rydd i chwi Dddydanudd arall, fel yr aroso gyda chwi yn dragywyddol; sef Ysbryd y Gwirionedd, yr hwn oedd yn aros gyda hwynt, ac i fod ynddynt; y Dyddanudd, yr Ysbryd Glân, yr hwn oedd i'w dysgu, ydyw yr un peth angenrheidiol, heb pa un ofer yw i ddyn feddwl y geill ef wneuthur dim at waith ei Iechydwriaeth. Y mae hwn hefyd yn ddigonol o hono

* Ioan xiv. 46.

ei hunan, i arwain ei ddilynwyr hyd wir lwybrau y bywyd. Efe sydd yn rhoddi gallu iddynt i fod yn feibion i Dduw.[b] Canys y sawl à arweinir gan ysbryd Duw, y rhai hyn sydd blant i Dduw. Ond y dynion tywyll à ddywedant, y sawl à arweinir gan yr ysgrythyr, sydd blant i Dduw. Drachefn, os ydych yn marweiddio gweithredodd y corph trwy yr ysbryd, byw á fyddwch. Ond hwy á ddywedant, mai trwy yr ysgrythyr y mae marweiddio gweithredodd y corph. Ond trwy yr ysbryd yr oedd Duw yn egluro i'w bobl y pethau ni weloedd llygad, ac ni chlywoedd clust, ac ni ddaeth i galon dyn, y pethau à ddarparoedd ef i'r rhai a'i carant ef.[c] Felly pethau Duw, nid edwyn neb, ond ysbryd Duw. Am hyny, y mae gormod o addefwyr Cred heb adnabod, na deall mo'r ysgrythyrau, na'r pethau à ddarparoedd Duw, i'r

[b] Rhys. viii. 13, 14. [c] 1 Cor. ii. 9, 11.

rhai

rhai a'i carant ef, am na dderbyniant hwy mo'i yſbryd ef.[d] Ond ebai yr apoſtol, Nyni á dderbyniaſom, nid yſbryd y byd, ond yr yſbryd ſydd o Dduw; fel y gwypom y pethau à rad-roddwyd i ni gan Dduw. Eithr dyn anianol nid yw yn derbyn y pethau ſydd o yſbryd Duw; canys ffolineb ydynt ganddo ef, ac nis gall eu gwybod; oblegid yn yſbrydol y bernir hwynt. Ac fel y dywedoedd Criſt,[e] Yr yſbryd yw yr hwn ſydd yn bywâu. A'r bywyd tragywyddol ydyw adnabod y Tâd a'r Mab.

A pha fodd i'w adnabod ef? Ond trwy ddatguddiad ei yſbryd ef ei hunan, yn y dyn oddifewn. Canys oddi mewn i mae ei ſaint ef, a'i ddilynwyr, yn ei adnabod ef yn oleuni i oleuo eu llwybrau,[f] yn ſywyd i'w heneidiau, yn ffynnon o ddwfr bywiol yn tarddu i ſywyd tragywyddol, i yfed o honi,

[d] 1 Cor. ii. 12, 14. [e] Ioan vi. 63. Pen. xvii. 3.
[f] Ioan iv. 14.

 fel

fel na ſychedant yn dragywydd. Ac oddimewn i mae ef yn dyddanu, ac yn cyſuro yr Eneidiau lluddedig a diffygiol gan daith eu pererindod; dyma y bywyd tragywyddol, yr hwn ſydd i'w gael yn rhâd, i'r ſawl à agoro ddryſau eu calonau, i dderbyn brenin y gogoniant i mewn.

Mae y dwfr bywiol yma i'w gael yn rhâd, i'r tylodion annyſgedig, crefftwyr a llafurwyr, bugeiliaid a phyſgodwyr; ond iddynt droi eu meddyliau i'r tu mewn iddynt eu hunain; ac yno ymddaroſtwng o flaen eu Duw, yn yr yſtyriaeth o'i drugareddau, ac o'i waredigaethau, ei gariad a'i hirymaros tuag attynt; gan ddyſgwyl ei fod yn raſol iddynt. Canys agos ydyw yr Arglwydd at y rhai a'i ceiſiant ef, tra y galler ei gael; ac à alwant arno tra byddo yn agos. Gan hyny onid yw rhagorfraint o adnabod ffynnon y dyfrodd byw ynnom ein hunain, gennym ni, y bugeiliaid, a'r

crefftwyr

crefftwyr tylodion, yn hyttrach na'r gwyr o ddyfg, y rhai fydd wedi ymlenwi â gwybodaeth, yr hwn fydd yn ymchwyddo; nag i'r gwyr mawrion, oblegid mae yn waith mawr iddynt hwy ddyfod i lawr mor ifel, i gymmeryd eu dyfgu gan beth mor fychan yn eu golwg hwy, ag ydyw hedyn teyrnas Duw.

Canys mae ef yn rhy gyffredin ynddynt hwy yn lleiaf o'r holl hadau; felly mae yn alluadwy i'r bugail ar ol ei braidd, a'r crefftwr wrth ei alwedigaeth ddyfod at y ffynnon yma, ac yfed o honi, i ddyddanu ac i ddyfrâu eu heneidiau fychedig.[s] Canys y rhai newynog â lanwoedd yr Arglwydd â phethau da; ac efe anfonoedd ymaith y rhai goludog yn weigion; ond y truan a'r cyftuddiedig y mae ef yn edrych arno. Ac y mae Duw yn prefwylio gyda'r cyftuddiedig, a'r

[s] Luc. i. 53. Efa. lxvi. 2, Efa. lvii. 15. Math. xviii. 10

ifel

isel o ysbryd, i fywâu y rhai isel o ysbryd, ac i fywâu calon y rhai cystuddiedig. Felly gweddi dylawd y publican aeth i glustiau yr Arglwydd yn fwy cymmeradwy nag un y pharisead. Mewn gwirionedd, pan ddel y rhai tylodion hyn yn gydnabyddus â'r ymweliadau ysbrydol yma, yn eu calonau, mae eu heneidiau hwynt yn cael eu bywâu, a'u hadnewyddu, ac ennyn ynddynt fryd duwiol am wasanaethu yr Arglwydd. Y mae rhai hyn yn dyfod i adnabod Crist oddimewn, yn rhoddi bywyd yn eu heneidiau; yno hwy á allant fod yn gywir dystion, mai ynddo ef y mae y bywyd. Ac megys ag y dywedoedd Ioan, y dysgybl anwyl,[h] Yr hwn sydd yn credu yn Mâb Duw, sydd ganddo dystiolaeth ynddo ei hun: Yr hwn nid yw yn credu i Dduw a'i gwnaeth ef yn gelwyddog, oblegid na chredoedd y dystiolaeth à dystiolaethoedd Duw am ei

[h] 1 Ioan v. 10, 11, 12.

Fâb. A hon yw y dyſtiolaeth, roddi o Dduw i ni fywyd tragywyddol: A'r bywyd hwn ſydd yn ei Fâb ef. Gan hyny y rhai ſydd yn dal allan, fod y bywyd tragywyddol yn yr yſgrythyrau, ac yn eu Sacramentau, mae y rhai hyn heb gredu tyſtiolaeth Duw am ei Fâb, ond ceiſio ei wneuthur ef yn gelwyddog; am na chredant fod y bywyd tragywyddol yn ei Fâb ef. Drachefn yr hwn y mae y Mâb ganddo, mae bywyd ganddo: A'r hwn nid yw ganddo Fâb Duw, nid oes ganddo fywyd.

Gwelwn yma, nad oedd yr apoſtol yn ſon am ddim i'w ddodi gyda Chriſt i wneuthur i fyny y bywyd; ond yr hwn y mae y Mâb ganddo y mae bywyd ganddo; oblegid y mae pob peth angenrheidiol i fywyd, ac iechydwriaeth, wedi ei dryſori yn y Mâb. Drachefn, yr hwn nid yw ganddo Fâb Duw, nid oes ganddo fywyd. Ac mewn gwirionedd, y rhai

ſydd

ſydd heb y bywyd, mae y rhai hyny etto yn feirw mewn camweddau a phechodau, heb eu cydſywàu gyda Chriſt, pa bethau bynag ar ſydd ganddynt,[i] nid ydynt hwy ond pethau meirwon; mae hyn yn cyttuno yn dda ddigon â hen ddiarheb y Cymry, Heb Dduw, heb ddim, ond Duw a digon. Etto fe á ddywed rhai pobl druain anwybodus, nis gwyddom ni ddim, nid oes gennym ni ond coelio y gwyr o ddyſg; y peth à ddywedont i ni, oblegid y maent hwy yn darllen, ac yn gwybod.

Ond nid dyna y ffordd itti i ddyſod byth yn un o ddefaid Criſt; oblegid pe buaſai y pyſgodwyr, a'r gwyr anllythyrenog gynt, yn coelio y gwyr o ddyſg, ni buaſent byth yn credu yn Nghriſt, nag yn dyfod yn ddilynwyr iddo. Ac er bod dyſgawdwyr yn yr oes hon, yn addefu eu bod yn credu yn Nghriſt; ond er hyny os

[i] Eph. ii.

dilyni

dilyni di eu hathrawiaeth hwy, ni ddeui di byth i ymofyn am Yſbryd Duw i'th arwain, fel y delych di yn blentyn i Dduw; hefyd nis derbyni byth mo Griſt, goleuni y bywyd, yr hwn ſydd yn rhoddi gallu i'r ſawl a'i derbynio ef, i fod yn feibion i Dduw, trwy gael eu geni, nid o waed, nag o ewyllys y cnawd, nag o ewyllys gwr, eithr o Dduw. Am hyny, gwell itti o lawer, gymmeryd cynghor yr apoſtol,[k] O bydd ar neb o honoch eiſieu doethineb, gofyned gan Dduw, yr hwn ſydd yn rhoi yn haelionus i bawb, ac heb ddannod, a hi á roddir iddo ef. Pob rhoddiad daionus, a phob rhodd berffaith, oddiuchod y mae, yn diſgyn oddiwrth Dâd y goleuni, gyda yr hwn nid oes gyfnewidiad, na chyſgod troedigaeth.

Ond pan ydyw yr Arglwydd yn dechreu ei waith ar galonau dynion, gan ddangos iddynt eu cyflwr pechad-

k Ioan i. 12, 13. Iago. i. 5.

urus, a chodi ynddynt ofn am eu heneidiau, a dymuniad am adnabod y ffordd i gael heddwch gyda Duw yn eu cydwybod, mae yn hawdd gan amryw ymgynghori a'u dyſgawdwyr, neu â'r rhai y byddont yn edrych arnynt yn ddoethion, ac yn abl i roddi cynghor. Ac ond odid iawn, na chânt gyfarfod â meddyginiaeth lawer gwaeth na'r clwyf, o eiſieu bod y meddygon yn adnabod gwaith Duw ar eu heneidiau eu hunain; hwy á fyddant tebyg i'w cynghori i gymmeryd gofal rhag meddyliau trymion, rhag i Satan eu hudo i anobaith, ac i'w colli eu hunain, gan eu hannog nad rhaid iddynt ofn am eu heneidiau, os ydynt yn byw fel eu cymmydogion, neu eu gwahoddi i gymmeryd y Sacrament, a chrio yddynt heddwch, a thywallt rhyw ddwfr i ddiffoddi y tân yr oedd Duw gwedi dechreu ei ennyn, trwy ddechreu ei farn yn erbyn pechod yn eu calonau.

Canys

Canys Sion á waredir drwy farn: ond pa beth á wneiff y dyn, pan yw ef yn dyfod i ofni am ei iechydwriaeth, a'i bechod yn dyfod yn faich iddo, ac nis gwyr ef pa fodd i gael efmwythdra ond ar y cyfryw rai yr oedd Crift ei hun yn galw? Gan ddywedyd,[l] Deuwch attafi bawb ag y fydd yn flinderog, ac yn llwythog; a mi á efmwythaf arnoch: Cymmerwch fy iau arnoch, a dyfgwch genyf, canys addfwyn ydwyf, a goftyngedig o galon; a chwi á gewch orphwyfdra i'ch eneidiau. A'r fawl fydd yn adnabod Crift trwy yfbryd ei râd, yn eu dyfgu, ac yn eu tywys i bob gwirionedd, fe â wyr y rhai hyn nad oes yr un dyfgawdwr tebyg iddo; canys efe yw yr enneiniad, at ddyfgeidiaeth pa un yn unig, yr oedd yr apoftol yn cyfarwyddo y feintiau,[m] yn yr amfer yr oedd Anghriftiau lawer wedi myned allan i geifio twyllo, a hudo y gwir

[l] Math. xi. 28. [m] 1 Ioan ii. 18. 20.

griſtionogion. Am hyny yr oedd yn dywedyd wrthynt, Mae gennych chwi enneiniad oddiwrth y Santaidd hwnw, a chwi á wyddoch bob peth. Os erys ynoch, yr hyn à glywſoch o'r dechreuad, chwithau hefyd á gewch aros yn y Mâb, ac yn y Tâd. Ac i'w ſefydlu ar y graig ddiſigl, fel y gallent wrthſefyll pob tymheſtlodd, gwyntodd, a llifddyfrodd; ac i atgofio iddynt eu twr cadarn, a'u hamddiffynfa. Mae yr enneiniad, à dderbyniaſoch ganddo ef, yn aros ynoch chwi, ac nid oes arnoch eiſieu dyſgu o neb chwi; eithr fal y mae yr un enneiniad, yn eich dyſgu am bob peth, agwir yw, ac nid yw gelwydd; ac megys i'ch dyſgoedd chwi, yr aroſwch ynddo. Felly mae yr enneiniad yn aros, yn y gwir Griſtionogion, a hwythau yn aros ynddo yntau, a thrwy hyny yn cael aros yn y Mâb, ac yn y Tâd, y rhai hyn yw y canghenau ſydd gwedi cael eu himpio yn y

wir

wir winwydden, wrth ba rai y mae ef yn dywedyd,[n] Arofwch ynofi, a mi ynoch chwi; megys na all y gangen ddwyn ffrwyth o honi ei hun, onid erys yn y winwydden, felly ni ellwch chwithau, onid arofwch ynofi. Gwelwn yma mor angenrheidiol i bob gwir Griftion adnabod ei fod yn cael ei impio yn Nghrift, y wir winwydden. A chwedi ei impio, aros ynddo, yn y dyn oddi mewn, fef yn ei râd ef, ac yn ei yfbryd, yn ei yfbrydoliaeth, yn ei natur bur ef, yn ei rinwedd, a'i gariad, a'i gymdeithas. Dyma y nôdd iachufol, yr hwn y mae y winwydden yn llawn o hono, yr hwn fydd yn derchafu 'i fyny i'r canghenau, i beri iddynt dyfu, a blodeuo, a dwyn ffrwythau peraidd, cymmwys i'r llafurwr, y rhai fydd yn tarddu yn naturiol oddiwrth y gwreiddyn anllygredig: Y cyfryw ffrwythau nis gall dyn mo eu dwyn

[n] Ioan. xv. 4.



allán

allan trwy ddim moddion ereill, er iddo arferu ei holl ddeall, a'i nerth i geisio agweddu ei weithredodd i atteb yr Ysgrythyrau, a thòri ymaith ei bechodau, y rhai sydd yn tarddu yn naturiol oddiwrth wraidd y winwydden wyllt, yr hwn á fyna darddu allan drwy y canghènau, gwneled dyn à fyno, nes iddo gael ei dòri ymaith o'r winwydden wyllt, a'i impio yn y wir winwydden.

Ond wedi i rai dynion ymdrechu, a llafurio yn erbyn pechod, a methu cael yr oruchafiaeth, mae yn gorfod iddynt ymrôi i angori yn y sugndraeth, a'r lle anobeithiol, gan gredu nad oes dim gallu i'w gael i ladd y pechod; ond bod yn rhaid i'r saint, a phobl Duw, fyw ynddo holl ddyddiau eu bywyd, a hyny o achos, eisieu iddynt ddyfod at Grist ynddynt eu hunain, i gael ei ysbryd ef, yr hwn sydd yn tywys i bob gwirionedd, i fod yn

llyw

llyw, ac yn gwmpas iddynt, i hwylio eu pererindod wrtho.

Canys y rhai ſydd yn cymmeryd eu harwain ganddo ef, y mae yn eu tywys i'r porthladd dymunol, lle mae efe yn rhoddi iddynt eſmwythyd, a gorphwysfa, ſef ynddo ei hunan, yr hwn yw y wir winwydden, am yr hwn y dywedpwyd: Yr hwn ſydd yn aros ynddo ef, nid yw yn pechu. Drachefn ebai ef,* Myfi yw y wir winwydden; chwithau yw y canghenau; yr hwn ſydd yn aros ynofi, a minnau ynddo yntau; hwnw ſydd yn dwyn ffrwyth lawer. Oblegid hebofi ni ellwch wneuthur dim. Ond trueni ydyw na bae yr athrawiaeth yma yn cael myned i'r areithfeydd yn eglwyſydd Crêd, i oleuo dynion, ac i ddangos iddynt ffordd iechydwriaeth; ond i mae y diafol yn ofalus am ei chadw allan, rhag colli ei deyrnas, a'i lywodraeth. Canys, fel y dywedoedd

* Ioan iii. 6. Ioan xv. 5.

Arglwydd drwy y prophwyd,[p] pe safasai y prophwydi yn fy nghyngor, a phe traethasent fy ngeiriau i'm pobl, yna y gwnaethent iddynt ddychwelyd o'u ffordd ddrwg, ac oddiwrth ddrygioni eu gweithredodd. Ond mae llais Crist, a'i brophwydi, a'i apostolion yn rhedeg fel afon, yr un ffordd yn gyson, ac yn gyttunol; eithr mae llais y byd yn llawn o gymmysgedd ynddo ei hunan, ac yn llwyr wrthwynebol i lais y gwir Fugail, ond yn llais dieithr. Am hyny mae y defaid yn ffoi oddiwrtho, oblegid nad adwaenent lais dieithraid. Efe ydyw drws y defaid,[q] a'r rhai sydd yn myned i mewn drwyddo ef, hwy á gânt fywyd; ond y cyfryw sydd yn dringo ffordd arall, lladron, ac ysbeilwyr ydynt. Efe á ddywedoedd, y mae fy nefaid i yn gwrando fy llais, ac mi a'u hadwen hwynt, a hwy a'm canlynant i. A minnau

[p] Ierc. xxiii. 22. [q] Ioan x. 5. 27, 28.

ydwyf

ydwyf yn rhoddi iddynt fywyd tragywyddol. Onid dyma fwm crefydd y gwir Griftion, a fylwedd iechydwriaeth; yr un peth angenrheidiol? Sef adnabod llais Crift oddifewn, yr hwn yw y gwir Fugail, a'i ddilyn ef y'mhob peth; a chael bywyd tragywyddol ganddo. Dyma hefyd y rhad à ymddangofoedd, fef rhad Duw yr hyn fydd yn dwyn Iechydwriaeth i bob dyn.[r] Gan ein dyfgu ni i wadu annuwioldeb, a chwantau bydol, a byw yn fyber, ac yn gyfiawn, ac yn dduwiol yn y byd fydd yr awron. Gwelwn mai dyma yr un oedd yn dyfgu yr apoftolion.

Gellir gweled hefyd, fod y rhai fydd yn cymmeryd arnynt, eu bod hwy yn dyfgu gan yr Yfgrythur, yn methu gwadu annuwioldeb, a chwantau bydol: maent hefyd yn cyfaddef, nad yw eu bywyd a'u buchedd hwynt, yn debyg i fywyd y gwyr duwiol gynt,

[r] Tit. ii. 11, 12.

am

am ba rai mae yr yſgrythyr yn mynegi i ni, eu bod yn cael eu harwain gan Yſbryd Duw, a'i râd; ond yr achos o hyny ydyw, eiſieu eu bod hwy yn dyfod i gymmeryd eu harwain gan yr un Yſbryd, a'u dyſgu gan yr un rhad; canys mae yr un nodd yn y wir winwydden, i beri i'r canghenau ddwyn yr un ffrwythau da.

Mae yr un rhinwedd yn y rhad i ddyſgu bucheddu yn dduwiol; mae yr un gallu yn yr Yſbryd Glân i dywys i bob gwirionedd: A chwedi ei roddi i blant Duw, i fod gyda hwynt hyd y diwedd. Ond mawr ydyw twyll yr hen elyn cyfrwys, i gadw dynion yn ei deyrnas dywyll, gan beri iddynt goelio, nad oes mo Yſbryd Duw i'w gael, i arwain ei bobl yn yr oeſodd hyn: Pa beth gan hyny à ellir ei feddwl? Os nad yw Yſbryd Duw yn arwain neb yn y dyddiau hyn; nid oes gan Dduw yn y dyddiau hyn, ddim plant, na

dim

dim pobl ar y ddaiar; mae yn wir ddigon, mai hyny ydyw ewyllys diafol; canys oni bydd yſbryd Duw yn arwain y dyn, efe á arweinir gan ei chwantau cnawdol, a chan yſbryd y byd yma, ſef yſbryd Satan, yr hwn ſydd yn tywys i bob anwiredd, a drygioni: Canys mae yſbryd dyn yn ddaroſtyngedig i gymmeryd ei arwain gan ryw yſbryd; ac nid oes ond dau yſbryd, a dwy anian, ſef y drwg a'r da, i reoli calonau dynion: am hyny fe á wyr y gelyn, nad oes dim yn tynu dyn allan o'i gyrhaedd ef, ond yſbryd Duw: Am hyny y mae yn dallu, ac yn llygadtynu trigolion y ddaiar, y rhai ſydd wedi meddwi gan win puteindra Babilon gan ddarlunio o'u blaen, a dangos iddynt ffyrdd ereill i fod yn blant i Dduw, heb law cael eu harwain gan ei yſbryd ef.

Ond mae y ffyrdd hyn mor ddigroes, wedi y delo dyn o hyd iddynt, fe á eill bechu y faint à fyno i fodloni ei

chwantau

chwantau cnawdol, ac i wasanaethu diafol; ac er iddo ganiatâu iddynt gael yr Ysgrythyr i'w darllen, ni chaniatêiff byth iddynt ddyfod at y peth y mae yr Ysgrythyr yn galw atto; canys mae yr Ysgrythyr yn galw pawb at Grist, ac at yr adnabyddiaeth o hono fel ag y mae ef (megys ag y dywedpwyd o'r blaen) i'w Saint yn ysbryd, yn fywyd, yn oleuni, yn rhâd, yn ffynnon, yn winwydden, yn fugail, i weithio yr enedigaeth newydd.

Mae yn wirionedd fod yr Ysgrythyrau gwedi eu dodi allan gan ysbrydoliaeth Duw, ac à darddoedd oddiwrth ei ysbryd ef, yr hwn oedd yn y gwyr duwiol, a'r prophwydi, Crist ei hun, a'i apostolion, y rhai oedd yn yr ysbryd, a thrwy yr ysbryd, ac y mae eu tystiolaethau hwynt yn wir, ac yn fuddiol er cyngor, a chysur, ac adeiladaeth i bob ymdeithydd sydd a'i wyneb tua Chaersalem, Newydd.

Ond

Ond i mae modd i'r dyn y'nghyflwr anian, yr hwn ſydd am gyflawni ei chwantau, allu pechu y faint à fyno, er bod y Bibl ganddo ef, yr hyn nis gallai, ped fae Criſt, drwy ei yſbryd, wedi cymmeryd gafael a meddiant ar ei galon ef, a'i enaid.

Ond fe allai, y dywed rhyw un, pe bae yr Yſgrythyr wedi cael gafael ar galon dyn, hi â fyddai yn help iddo i beidio â phechu. Ond pwy à egyr y galon i dderbyn yr Yſgrythyr, ond yr Arglwydd? Efe á agoroedd galon Lydia i dderbyn yr hyn à ddywedpwyd gan Paul: Ynddo ef yn unig y mae y gallu i agor calonau dynion. Canys lle y mae Satan yn cadw meddiant, ni chaiff dim da ddyfod i mewn, hyd oni ddel yr hwn ſydd gryfach nag ef, i'w fwrw allan, ac i gymmeryd meddiant, ac i agoryd y galon i dderbyn i mewn bob daioni, y rhai y mae Duw wedi ei ganiatâu i'w bobl er adeiladaeth.

Ac

Ac mewn gwirionedd, pan ydyw Crist, trwy ysbryd ei râd yn cymmeryd gafael ar galonau dynion, mae ofn Duw yn dyfod i gael lle ynddynt, i'w dychrynu, ac i beri iddynt grio am help i ymadel â drygioni, ac y mae yr Arglwydd yn agos, ac yn barod i sefyll gyda hwynt, yn erbyn profedigaethau Satan; ac fel y bont yn ffyddlon mae efe yn cyfrànu iddynt o ysbryd y rhad, i'w lefeinio, a'u newid, a'u gwneuthur yn greaduriaid newyddion; mae y rhai hyn yn cael fwyfwy o'r anian nefol, yr hon sydd yn y winwydden, i newid eu hansawdd, a'u holl ferchiadau, gan ddysgu iddynt garu Duw, a charu pob daioni, a charu pob dyn; caru eu gelynion, a gweddio drostynt, a gwneuthur daioni i bawb. Mae ef yn dysgu iddynt hefyd gasâu pob drygioni, a chilio, oddiwrtho, megys oddiwrth elyn marwol, yr hwn sydd am dòri yr heddwch rhyngddynt a'r Arglwydd: Yr

hwn

hwn heddwch y maent hwy yn ei gyfrifo uwchlaw pob peth arall: I'r cyfryw rai y mae iau Crist yn esmwyth, a'i faich ef yn ysgafn; ac y mae yn esmwythach iddynt gadw gorchymmynion Duw, na'u tóri; canys mae eu tòri yn tòri yr heddwch.

Ac mewn gwirionedd, dyma y grefydd yr oedd ac y mae Duw y Nefodd yn ei chanmol, a'i llwyr berchi, fel y dywedpwyd o'r blaen. A ddeliaist ti ar fy ngwâs Iôb, nad oes gyffelyb iddo ar y ddaiar, yn wr perffaith ac uniawn, yn ofni Duw, ac yn cilio oddiwrth ddrygioni? Onid dyma fum y cwbl à glybuwyd, a holl ddyledswydd dyn? A'r dyn fydd ganddo y grefydd yma, pa gwr bynag o'r byd y mae ef yn trigo, o ba iaith, a llwyth, a chenedl bynag, o ba alwedigaeth bynag ar y byddo, dyma y dyn y bydd ei lamp ef yn goleuo ar y pen diweddaf, a'r drws yn agored. Ond y dyn fydd heb ofni Duw, na chadw mo ei orchymmynion, na chilio oddiwrth

ddrygioni, er iddo wneuthur addefiad uchel o Grifttionogaeth, ac ymffroft am ei ffydd, ei grêd, ei grefydd, a'i weithredodd, mewn hyder mawr rhyfygus; ond pan edrycho hwn yn wyneb angeu, ei lamp a fydd yn diffodd, a'r hyder yn cwympo i lawr; canys mae colyn angeu yn pigo, a'r pechod yn cnoi y gydwybod, a'r wifg yn fudr, heb ei golchi na'i chánu y'ngwaed yr Oen,[s] fel y bydd yr enaid yn gymmwys i fefyll o flaen yr orfeddfainc, gyda 'r Saint yn y gwifgodd gwynion. Ond yn awr, o ddyn pechadurus, mae yn ofid itti gofio dy ffyrdd, a'th weithredodd, a chofio hefyd fel y bu yr Iefu yn curo wrth ddrws dy galon, tra y parâes dydd dy ymweliad, gan alw am edifeirwch, a gwellâd buchedd, a thydi heb wrando arno, ond myned ar ol dy chwantau nwyfus, i foddi dy enaid yn y pwll diwaelod.

[s] Dan vii. 14.

Y DRYDEDD

# Y DRYDEDD BENNOD.

*Dangosiad pa beth yw y Gred achubol.*

MEWN gwirionedd, mawr yw y rhyfyg y mae diafol yn ei weithio, yn y fath ffieiddiaf o bechaduriaid, gan beri iddynt goelio eu bod yn yr uniawn ffordd, a'u bod yn y wir eglwys; lle nad oes dim perygl o golli iechydwriaeth; am hyny fe á gair clywed y meddwon, a'r godinebwyr, a phob math o ddrygweithredwyr, yn ymffrostio o'u crefydd, ac yn dadleu drosti yn wynebuchel, er na byddo ganddynt ddim crefydd oll: ac y mae yn gyffredin, pa fwyaf cyfeiliornus, mwyaf y fydd eu rhyfyg a'u gau hyder; canys, pa fwyaf pechadurus, mwyaf deillion ydynt, lleiaf yw eu cariad tuag at eu cydgreaduriaid, creulonaf yw eu barn yn

erbyn pob plaid arall, ac yn ddidrugaredd, aberthu y cwbl i'r tân uffernol ond hwynthwy eu hunain: Gellir gweled hyny yn amlwg ddigon yn aelodau Eglwys Rufain, ac y mae yn ymlusgo i mewn drwy y natur lygredig i bleidiau ereill, i wneuthur pechaduriaid yn rhyfygus: canys er bod gormod o ddynion yn anghyfnewidiol, etto er hyny, hwy á fynant fod ganddynt grefydd, felly bwriadant ryw adeiladaeth i'w cysgodi eu hunain tano, ac i addo y nef iddynt eu hunain, er eu bod yn wasanaethwyr llygredigaeth.

Ac i suo iddynt eu hunain, i gael cysgu yn esmwyth mewn pechod ac anwiredd; gan hyny fe á ddywed rhai yn dra hyderus: Y mae gennym ni ffydd yn Nghrist, yr hwn à fu farw drosom, ac a'n prynoedd wrth ddyoddef y groes; ac efe á gymmeroedd ein pechodau arno ef ei hun, ac eu cyfrifwyd yn bechodau iddo ef,

yr

yr hwn oedd ddibechod: Felly fe â gyfrifir i ninnau gael bod yn gyfrannogion o'i gyfiawnder yntau, er na byddo ynom ni ddim cyfiawnder. Ond dyma athrawiaeth â llawer o ryfyg ynddi? I wneuthur dynion yn hyfach ac yn fwy hyderus am gael pechu digon yn rhâd, ar gôst yr Arglwydd, gan daflu eu holl fudreddi a'u pechodau ffiaidd ar Grist, yr hwn à fu farw dros bechaduriaid, er eu gwaredu allan o'u pechodau, a'u golchi, a'u glanâu; canys efe ydyw y ffynnon à gyfodoedd i dy Iuda, ac i brefwylwyr Ierusalem, i olchi ymaith bechod ac anwiredd.

Ond wrth yr athrawiaeth hon ni ddaeth Crist i olchi dynion oddiwrth eu pechodau, ond yn hyttrach i'w cyfiawnâu hwy ynddynt, fel y gallont bechu y faint à fynont, yn hyf ac yn ddiofn, a'u taflu ar Grist yr hwn à ddywedoedd wrth Petr, Oni chafi dy olchi di, nid oes itti ddim rhan ynofi:

Etto fe allai y bydd y dyn yn barod i ddywedyd, er fy mod i yn bechadur aflan, etto yr wyfi yn credu yn Nghrift, ei genedlu ef o'r Yfbryd Glân, a'i eni o forwyn bur; ei wrthiau ef a'i ddyoddefaint, ei adgyfodiad, a'i efgyniad i'r nefodd, i eiftedd ar ddeheulaw y mawredd.

Mae hyn yn wir ddigon ynddo ei hunan, ac y mae dilynwyr Crift yn meddiannu yr iechydwriaeth à ddarparoedd iddyn t trwy ei ddyoddefaint; ond mae Satan yn gwybod hyn igyd; ac yr oedd y cythrenliaid yn addef mai efe oedd Mâb Duw,[t] er nad oedd iddynt hwy ddim à wnelent ag ef; ond ceifio ffoi oddiwrtho. Ond fe á ddywed y dyn yr wyfi yn credu i Grift, trwy ei farwolaeth, fy mhrynu, a thalu y gwerth drofof: Mae yn ddigon, fod y brenin nefol wedi prynu holl ddynol ryw, a thalu droftynt, i'r dyben i'w gollwng yn

[t] Math. viii. 29.

rhydd

rhydd o'u pechodau, a'u tynu o deyrnas Satan, ac o'i gadwynau ef; a'u symmud i'w deyrnas ei hun, fel y byddont yno dan ei faniar ef, a'i gyfraith, a'i lywodraeth.

Ond pa gyfran sydd itti yn y brenin yma, nag yn ei deyrnas, tra y byddych di yn byw mewn anufydddod i'r brenin a'i lywodraeth, mwy nag sydd i'r Pagan, Indiad, a'r Barbariad, y rhai sydd wedi eu prynu, a'r un gwaed wedi talu drostynt? Ond fe á ddywed y dyn yn brysur, yr wyfi wedi clywed, neu ddarllen am fy mhrynedigaeth, fel y goddefoedd Crist drosofi; ac yr ydwyf yn credu hyny igyd: minnau á allaf ddywedyd, myfi á glywais fod brenin yn Frainc, mewn awdurdod yn rheoli ac yn gosod ei gyfreithiau ymhlith ei ddeiliaid, a hwythau tan ei faniar ef yn milwrio mewn ufydddod i'r brenin a'i orchymmynion: Ond er fy mod i yn credu hyn i gyd, etto nid oes genyfi ddim

meddwl

meddwl i fod byth yn un o'i ddeiliaid ef, nag i ddyfod tan ei faniar ef, i fod yn ufydd iddo: Pa hawl gan hyny fydd i mi yn y brenin hwnw, nag yn ei deyrnas, nâ'i gyfreithiau? Oblegid yr wyfi wedi ymrwymo dan frenin arall, yr hwn, fe allai, fydd iddo ef yn elyn penaf? Ac am hyny, nid oes i mi ddim rhan, na chyfran yn y brenin hwnw, nag yn ei deyrnas, na'i lywodraeth. Ond fe á ddywed y dyn, i mae yr yfgrythyr yn dywedyd, yr hwn à gredo, ac à fedyddir, á fydd cadwedig; gan hyny yr wyfi yn credu. Onid yw hyn yn rhan o waith fy iechydwriaeth? Credu yn Nghrist mewn gwirionedd ydyw y wir ffordd achubol, a fylfaen iechydwriaeth, wrth ba un y mae y gwir fedydd wedi ei glymu. Os wyti yn credu yn Nghrist, mae yn rhaid itti goelio Crist; onid e pa fodd y gelli di ddywedyd dy fod yn credu ynddo; canys pan oedd ef yn pregethu ar y mynydd, ac yn gosod allan gyfraith y cyfammod newydd, yr hon

oedd

oedd i fod yn gyfraith i bob gwir Griſtion; hefyd y ffrwythau yſbrydol yr oeddynt i'w dwyn allan, fel i'r adwaenid pawb wrth eu ffrwythau; canys y ffrwythau yw y rhagoriaeth oedd, ac ſydd rhwng y gwir griſtionogion a'r gau griſtionogiou; yr oedd gau griſtionogion, a gau brophwydi, a gau athrawon, i ddyfod i mewn i blith y gwir griſtionogion.

Am hyny yr oedd ef yn amlygu iddynt y ffordd i'w hadnabod.[g] Wrth eu ffrwythau yr adnabyddwch hwynt. A gaſgl rhai y grawn-gwin oddiar y drain, neu ffigys oddiar yſgall? Felly pob pren da ſydd yn dwyn ffrwythau da, ond y pren drwg ſydd yn dywn ffrwythau drwg. Ac er cadarnâu, a ſiccrâu y dyſtiolaeth, fe á ddywedoedd drachefn: Ni ddichon pren da ddwyn ffrwythau drwg, na phren drwg ddwyn ffrwythau da. Pob pren, heb ddwyn ffrwyth da, á dorir i lawr, ac

[g] Math. vii. 16, 16, 18, 19. 21. 26.

á

á deflir yn y tân. Ond pa beth á ddywed y dyn anfucheddol, fydd yn fôn ei fod ef yn credu yn Nghrift, wrth y pethau hyn? Os wyti yn credu ynddo ef, mae yn rhaid itti goelio, a chredu y pethau hyn: Ac os credi y pethau hyn, mae yn rhaid itti wellâu dy fuchedd, a gweddio ar Dduw am râd, i dòri ymaith dy bechodau, a dwyn ffrwythau addas i edifeirwch; heb hyny nid oes yma itti ddim addewid, ond dy dòri i lawr; a'th daflu i'r tân, lle y mae diafol a'i angylion. Gwel yma ymhellach: Nid pob un fydd yn dywedyd wrthyf, Arglwydd, Arglwydd, á ddaw i mewn i deyrnas nefodd, ond yr hwn fydd yn gwneuthur ewyllys fy Nhâd, yr hwn fydd yn y nefodd. Ac yn niwedd ei bregeth, wedi iddo ofod allan y gyfraith nefol, efe á ddywedoedd wrthynt: Pob un ar fydd yn gwrando fy ngeiriau hyn, ac heb eu gwneuthur, á gyffelybir

á gyffelybir i wr ffôl, yr hwn a adeiladoedd ei dy ar y tywod. Yr hwn dy á syrthioedd, pan ddaeth gwyntodd a themhestlodd: Dyma fel y syrth gobaith yr annwiol, yn yr amser rheitiaf, pan ddel clefyd angeu, gwasgfa, a chaledi, yno y galwant arno, Arglwydd, Arglwydd, oni ddarfu i ni gyfaddef dy enw? Ond hyn oedd yr atteb, Nis adnabum chwi erioed; ewch ymaith oddiwrthyf, chwi weithredwyr anwiredd! Ond mewn gwirionedd, y rhai sydd yn gwir gredu yn Nghrist, mae y rhai hyny yn ei ddewis ef i fod iddynt hwy yn Dduw, yn Dâd, yn Dywysog ac yn Fugail: Yn Dduw i'w ofni, ac i'w anrhydeddu; i ymddarostwng ger ei fron ef, a rhoddi iddo y gogoniant, parch, ac ufydddod, ac i'w garu ef â'r holl galon, ac â'r holl enaid, ac â'r holl feddwl; canys hwn ydyw y gorchymmyn mwyaf:[w] Yna fe á eill

[w] Mat. xxii. 37.

y cyfryw

y cyfryw un gredu yn yr Arglwydd, ac ymddiried ynddo, a hyderu ar ei drugareddau, y bydd iddo wrando ei weddi ef yn nydd cyfyngder, a'i gadw oddiwrth awr y brofedigaeth, yr hon á ddaw ar yr holl fyd, i brofi y rhai fydd yn trigo ar y ddaiar.[a]

Hefyd, mae efe yn Dâd iddynt, yr hwn fydd yn eu porthi, ac yn eu hamgeleddu, ac yn cyfrànu iddynt holl angenrheidiau y cyrph a'r eneidiau: Maent hwythau yn blant ufydd yn derbyn ei drugareddau ef oddiwrth ei law, mewn ifelder, a diolchgarwch, gan ei gymmeryd yn rhwymedigaeth arnynt i fendithio ei enw mawr ef am y cwbl o'i drugareddau.

Mae ef iddynt hwy yn Dywyfog i'w gwifgo ag arfogaeth yfbrydol, fef gair Duw, yr hwn, ydyw cleddyf yr yfbryd, tarian y ffydd, helm yr iechydwriaeth, felly gallont orchfygu diafol a'i holl gynllwynion; mae yr Ar-

[a] Dat. iii. 10.

glwydd

glwydd hefyd yn myned gyda hwynt i bob brwydr; ac y mae y rhai hyn wrth filwrio tan ei faniar ef, yn derbyn ffydd, a chrediniaeth, am oruchafiaeth, a thragywyddol obrwy: mae y rhai hyn yn weifion tan eu harglwydd, gan fwriadu bod yn ufydd, ac yn ffyddlon yn eu gwafanaeth iddo, fel i byddo iddo yntau eu trefnu a'u llywodraethu; a gofod pob un ar ei waith pennodol: Ac fel y cadwont eu lle, maent yn credu, ac yn ymddiried yn eu harglwydd, y bydd iddo ef eu gobrwyo yn helaeth, tu hwnt i'w teilyngdod.

Ac y maent yn ei gymmeryd yn Fugail, i wrando ar ei lais, ac i'w ddilyn, gán ymadel a'u holl chwantau cnawdol, a dewis dwyn y groes; canys y rhai à gredafant ynddo, hwy á adawfant bob peth i'w ddilyn ef. Ond ofer i'r dyn annuwiol fon am ei ffydd yn Nghrist, ac yntau yn gwrthod Crist i fod yn Arglwydd iddo, ond

F gwrthryfela

gwrthryfela beunydd yn ei erbyn, gan ddewis gwasanaethu diafol; canys ffydd sydd yn cael ei gweithio drwy gadw gorchymmynion Duw, megys ag y dywedoedd Crist. O cherwch fi, cedwch fy ngorchymmynion. Yr hwn sydd a'm gorchymmynion ganddo, ac yn eu cadw hwynt, efe yw yr hwn sydd yn fy ngharu; a'r hwn sydd yn fy ngharu i ágerir gan fy Nhâd:[y] A minnau ai caraf ef, ac a'm hegluraf fyhun iddo, Os câr neb fi, efe á geidw fy ngair, a'm Tâd a'i câr yntau; a nyni á ddeuwn atto, ac á wnawn ein trigfa gydag ef. Felly mae holl weision Crist yn caru Crist, gan gadw ei orchymmynion, ac yntau yn eu caru nhwythau, ác yn cyfranu iddynt ffydd, a nerth yn arfogaeth ysbrydol, fel y gallont wrthsefyll eu chwantáu cnawdol, a phrofedigaethau Satan.

Ond y dyn sydd yn gwnéuthur

[y] Ioan xiv. 15, 21, 23.

ſwn am ei ffydd, a'i grêd, a'i griſtionogeiddrwydd, ond heb ddyfod tan gyfraith y cyfammod newydd, ofer yw y cwbl iddo. Ac fal y dywedoedd yr apoſtol am y rhai oedd o'r enwaediad, fal ag yr oeddynt yn rhwym i gadw y ddeddf.[a] Eithr os troſeddwr y ddeddf ydwyt, aeth dy enwaediad yn ddienwaediad. Felly y gellir dywedyd wrth y dyn anſucheddol, os troſeddwr cyfraith Criſt ydwyt ti, fe aeth dy griſtionogaeth yn anghriſtionogaeth. Drachefn, os y dienwaediad, gan hyny, á geidw gyfiawnderau y ddeddf, oni chyfrifir ei ddienwaediad ef yn enwaediad? Felly y cenedlodd, y rhai ſydd heb dderbyn fawr wybodaeth, trwy ddarllen na thrwy bregethiad, ond etto yn adnabod Duw, yn yſgrifenu ei gyfraith yn eu calonau, a thrwy help y rhâd yn bucheddu yn dduwiol.

Oni chyfrifir eu hangriſtionogaeth

[a] Rhuf ii. 25.

hwy yn griſtionogeiddrwydd? Ond ni chaniatêiff addefwyr Crêd, y geill neb fod yn gyfranog o'r iechydwriaeth à ddarparoedd Criſt iddynt; ond y rhai à glybu am ei ddyoddefaint ef. Pa fodd wrth hyny y daeth y dynion, drwy holl gyrau y byd, i fod yn gyfranogion o'r farwolaeth à ddaeth drwy Adda; y rhai ni chlywſant erioed ſôn am Adda, nag am ei gwymp? Ond yr hâd ſarphaidd á aeth allan ar led i glwyfo, ac i archolli: Ond hâd y wraig, ſef Criſt Ieſu, á roddwyd i iachâu, ac i feddyginiaethu; a llawer á gawſant eu hiachâu yn yr oeſodd gynt, cyn iddo ef ymddangos yn y cnawd, ac á ddaethant yn gyfranogion o'r iechydwriaeth, yr hon á ddarparoedd ef iddynt yn ei ddyoddefaint;* canys yr oedd Iôb yn gwybod fod ei brynwr ef yn fyw, ac y ſafai ef yn y diwedd ar y ddaiar. Felly yr oedd ef yn

* Iôb. xix. 25.

cwyno

cwyno yn amser ei gyfyngder am ddyddiau á fuasai arno.

O! na bawn i fal yn y misodd o'r blaen![b] Mal yn y dyddiau pan gadwai Duw fi;[c] pan wnai efe i'w oleuni lewyrchu ar fy mhen; wrth oleuni yr hwn y rhodiwn drwy dywyllwch! Pan oeddwn yn nyddiau fy ieuenctid, a dirgelwch Duw yn fy mhabell! Pan oedd yr Hollalluog etto gyda mi! Felly yr oedd gan Iôb ffydd yn ghrist, yr hwn yr oedd ef yn ei adnabod yn brynwr iddo, ac yn oleuni yn tywynu arno i oleuo ei lwybrau, fal y gallai rodio drwy dywyllwch, gan ei adnabod ef yn graig, yr hon oedd yn tywallt iddo afonydd o olew.

Dyma graig yr oesodd, am yr hon yr oedd Dafydd yn dywedyd: O Arglwydd, fy nghraig, a'm prynwr.[d] A gorfoledd Abraham oedd, weled dydd Crist; ac ef ài gweloedd hefyd, ac á lawenychoedd. Ac mewn gwirionedd,

[b] Iôb xxv. 2, 3, 4, 5. [c] Psalm xix. 14. [d] Ioan viii. 56.

ionedd, yr oedd, ac y mae y bobl duwiol yn mhob oes, ac yn mhob twr i'r byd, yn gyfranogion o Grist; canys y rhai sydd yn cael eu golchi oddiwrth eu pechodau, y rhai hyny sydd yn cael y budd oddiwrth yr hyn á wnaeth ef drostynt, trwy iddynt ei adnabod ef ynddynt eu hunain yn oleuni, i oleuo eu llwybrau, yn fywyd i fywâu, eu heneidiau, yn rhâd i ddysgu iddynt fyw yn dduwiol; yn ffynnon o ddwfr buwiol i ddiodi y dyn oddifewn, ac i olchi eu gwisgodd. Drwy y moddion hyn y daeth milodd yn gyfranogion o Grist a'i ddyoddefaint a'i brynedigaeth: A hyny cyn iddo ymddangos mewn cnawd, i gyflawni yr hyn yr oedd ei Dâd gwedi ei ddarparu iddo; sef i'w roddi ei hun yn aberth dros holl ddynol-ryw, ac i ddatguddio ei weinidogaeth ysbrydol ef ei hun, yn fwy eglur, yn fwy goleu a dysglair, gan ei thynu oddi tan y cysgodau, a'r arwyddion, y

rhai

rhai oedd yn arwyddocâu ei ddyfodiad ef, i osod i fyny gyfraith y cyfammod newydd, ac i'w ysgrifenu y'nghalonau dynion, a'u dysgu hwynt ei hunan; ond mae yn wirionedd mai yr un goleuni sydd i'w goleuo, yr un ysbryd i'w harwain, ac i'w bywáu, yr un rhâd i'w dysgu, yr un ffynnon i yfed o honi, yr un ffydd, yr hon oedd gan Abraham, Tâd y ffyddloniaid, yr hon à dderbynioedd ef oddiwrth Dduw, am ei ffyddlondeb, a'i ufydddod, pryd yr oedd ef etto yn y dienwaediad. Felly yr oedd gan Grist ddefaid yn mhob oes, a chyrau y byd, etto heb eu clasglu i'r un gorlan, ond er hyny yn adnabod ei lais ef, yn eu tywys i'r dyfrodd i gael eu golchi: Canys fe á weloedd Ioan yn y nefodd, * dyrfa fawr, yr hon ni allai neb ei rhifo, o bob cenedl, a llwythau, a phoblodd, ac ieithodd, yn sefyll ger bron yr Oen, wedi eu gwisgo mewn gynau gwynion, a phalmwydd yn eu dwylaw

* Dat. vii. 9.

dwylaw ac yn moliannu Duw a'r Oen. Ac un o'r henuriaid á ddywedoedd wrth Ioan: Y rhai hyn yw y ſawl à ddaethant allan o'r cyſtudd mawr; ac á olchaſant eu gynau, ac a'u cànaſant hwy y'ngwaed yr Oen. O herwydd hyny y maent ger bron gorſeddfainc Duw, yn ei waſanaethu ddydd a nôs yn ei deml; a'r hwn ſydd yn eiſtedd ar yr orſeddfainc á drig yn eu plith hwynt.

Gwelwn yma yr achos paham yr oedd y rhai hyn wedi dyfod i gael y braint uchel, o ſefyll ger bron yr orſeddfainc; ond o herwydd iddynt olchi eu gynau a'u cànu y'ngwaed yr Oen; canys y golchiad yma ſydd yn gwneuthur dyn yn Griſtion, gan roddi iddo ran yn Nghriſt a'i wneud yn gymwys i foliannu Duw yn dragywydd. Am hyny ymddaroſtynged pob perchen enaid o flaen Duw, a doded ei enau yn y llwch; rhodded i lawr ei holl ryfyg. Edrych am dy fod yn ofni

ofni Duw, ac yn cilio oddiwrth ddrygioni; a bod dy galon di, a'th enaid, yn dyfod i gael eu rhwymo tan ei gyfraith, fel nas gellych di wneuthur mo y drwg, yr hyn ſydd yn ei ddigio ef, ac yn tori heddwch dy gydwybod.

Dyma y gyfraith oedd wedi rhwymo Ioſeph i fod yn wâs i Dduw; ac nis gallai ef fodloni mo y chwantau cnawdol, i wneuthur ewyllys diafol, ac i ddigio ei Dâd nefol, pryd yr oedd gwraig ei arglwydd yn daer arno, ar bob cyfleuſdra am orwedd gyda hi: yr hyn yr oedd Ioſeph yn edrych arno yn farwolaeth i'w enaid; am hyny ef à ddywedoedd,[f] Pa fodd y gallaf wneuthur y mawr ddrwg hwn, a phechu yn erbyn Duw? O gwelwn gymmaint yr oedd Ioſeph yn rhagori ar addefwyr Criſtionogaeth yr oes hon; canys llawer o honynt à fyddai llawen o'r fath gyfleuſdra i wneuthur drygioni, ac i fodloni eu chwantau cnawdol, heb fawr feddwl am yr

[f] Gen. xxxix. 9.

enaid,

enaid, nag ofn rhag digio yr Hollalluog, yr hwn ſydd beunydd yn eu porthi a'i aml drugareddau, gan eu magu, a'u meithrin: Ond mewn gwirionedd, y cyflwr pechadurus anghyfnewidiol ydyw y ffordd lydan, ſydd yn arwain i ddiſtryw, addefed dynion y peth à ſynont. Ac fel y dywedoedd yr apoſtol:[g] Yr wyf yn deall, mewn gwirionedd, nad ydyw Duw dderbyniwr wyneb, ond yn mhob cenedl, y neb ſydd yn ei ofni, ac yn gweithredu cyfiawnder, ſydd gymmeradwy ganddo ef. Felly trwy y moddion yma y ſoniwyd am danynt, y mae ein prynedigaeth yn dyfod y ngyflawn iechydwriaeth i ni; dyma hefyd phiol yr iechydwriaeth, yr hon ſydd yn cael ei chynyg; ac onid yfir o honi ni iachêir mo yr enaid:[h] A'r dyn ſydd a'r pethau hyn ganddo, mae Criſt ganddo; hwnw à eill ddywedyd, mewn gwirionedd, Myfi wyf eiddo fy anwylyd, a'm hanwylyd yn eiddo finnau.

[g] Act. x. 34, 35. [h] Can. vi. 3.

Y BEDWAREDD

## Y BEDWAREDD BENNOD:

*Dangosiad o'r cynnorthwy sydd yn erbyn pechod.*

PUR a santaidd ydyw yr hollalloug Dduw, yr hwn nid yw yn ewyllysio anwiredd, a'r drwg ni thrig gydag ef; yr hwn sydd yn casâu holl weithredwyr anwiredd.[1] Pwy à esgyn i fynydd yr Arglwydd? A phwy à saif yn ei le santaidd? Y glân ei ddwylaw, ar pur ei galon. Am hyny mae efe yn galw am santeiddrwydd, gwasanaeth, ac ufyddiant oddiwrth ei bobl, gan drefnu iddynt allu cyflawni yr hyn y mae ef yn ei ofyn ar eu dwylaw; yr hwn sydd yn gwneuthur ei blant yn greaduriaid newyddion, trwy eu puro hwy, a dinistrio ynddynt waith y gelyn, yr hwn ydyw pechod, sef yr unig beth

[1] Psalm v. 4, 5. Psalm xxiv. 3, 4.

ſydd yn gwneuthur yr eſgariaeth rhwng dynion a'u gwneuthurwr: Ond mae llawer o ddynion yn caru pechod, ac yn caru byw ynddo, ac heb geiſio help gan Dduw i orchfygu. Rhai ereill yn ceiſio ymladd ag ef yn eu nerth eu hunain, ac felly yn methu ei orchfygu; am hyny mae y rhan fwyaf yn ſyrthio i'r un farn, nad oes dim goruchafiaeth i'w gael yn erbyn pechod, ond bod yn rhaid i'r ſaint, a gwir bobl Duw, fod yn bechaduriaid holl ddyddiau eu bywyd; ond dyma athrawiaeth heb ddim Efengyl ynddi, ond profiad pechaduriaid? Y maent yn dywedyd hefyd fod gweithredodd gorau y ſaint yn bechod.

Ond y mae yn perthyn i ni yma, yn y lle cyntaf, yſtyried yn ddifrifol, pa beth ydyw pechod, ac oddiwrth ba wreiddyn, pa yſbryd, a pha anian y mae efe yn tarddu, ac yn cenedlu; onid yw yn rhaid i bechod fod yn rhyw ddrwg; os nad yw yn ddrwg,

pa

ſodd y gellir ei alw ef yn bechod? Ond os ydyw ef yn ddrwg, mae yn rhaid iddo fod yn tarddu oddiwrth y gwreiddin a'r yſpryd a'r anian ddrwg, ac yn rhyw ran o ffrwythau teyrnas diafol, y rhai ſydd i gyd yn anghymmeradwy gyda Duw. Pa beth gan hyny á ellir ei feddwl wrth eu hathrawiaeth? Sef bod gweithredodd gorau y ſaint a phobl Duw, yn bechod, wrth hyny mae yn rhaid i'w gweithredodd gorau hwynt fod yn ddrwg; mae hon yn athrawiaeth anyſgrythyrol, anianol, dywyll, a niweidiol; maent yn taflu tom ar yr Efengyl, i lychwino gwaith Duw, a ffrwythau nefol ei deyrnas ef, y rhai oedd yn tarddu allan drwy ei ſaint, a'i brophwydi, a'i apoſtolion, a'r holl rai duwiol, y ſawl oedd wedi eu himpio yn y winwydden, ſef Criſt, a'u geiriau, a'u gweithredodd, yn tarddu oddiwrth y gwreiddyn, a'r yſbryd, a'r anian nefol, felly yr oedd eu

dyfrodd hwy yn lân, yn tarddu o'r graig, lle nid oes dim anmhuredd; ond fe allai y cyfaddefant fod geiriau a gweithredodd y prophwydi, a'r apostolion o'r gwreiddyn pur. Ac os cyfaddefant hyny, minnau á ddywedaf: Ond yr un ydyw Duw i'w bobl? Ond yr un ydyw Crist, craig yr oesodd? Yr un ydyw dwfr y graig, yr un yw y winwydden, a'r un nodd sydd ynddi; yr un ysbryd i dywys i bob gwirionedd, yr hwn sydd i fod gyda dilynwyr Crist hyd ddiwedd y byd.

Hefyd yr un ydyw defaid Crist, yr un bugail y maent yn ei ddilyn; yr un Duw sydd yn dysgu ei bobl ei hunan tan y cyfammod newydd, ac i fod gyda hwynt hyd y diwedd,[k] fel y byddo iddynt ei adnabod ef, o'r lleiaf o honynt hyd y mwyaf, yn Dduw ac yn ddysgawdwr iddynt; felly yr wyf fi yn holi pa fodd y mae gweithredodd

[k] Ier. i. 34.

goreu

goreu y Saint yn bechod? Yn gymmaint á bod yn rhaid iddynt darddu o'r un graig, ac o'r un ffynnon.

Ond fe á allai y dywed rhyw un, da ydyw y cwbl o bethau Duw ynddynt eu hunain, ond ein bod ni yn llygredig, a'n llestri ni yn troi blâs y pethau da à dywallter iddynt, ac yn eu gwneuthur yn llygredig, ac yn bechadurus; fe á ellir caniatâu hyn am yr hen lestri budron: Y dynion anghyfnewidiol sydd etto y'nghyflwr natur, heb eu haileni; ond y mae Crist yn gwneuthur ei Saint, a'i ddilynwyr, yn llestri newyddion cymhwys i dderbyn, ac i gadw gwin newydd teyrnas Duw: Canys efe á ddywedoedd: Ni rydd neb win newydd mewn hen gostrelau: Os amgen,[1] y gwin newydd á ddryllia y costrelau; ac á red allan, a'r costrelau á gollir; eithr gwin newydd sydd raid ei roi mewn costrelau

[1] Marc. ii. 22,

newyddion. Ond mewn gwirionedd, mae yn rhaid i'r rhai ſydd yn dadleu dros bechod, yr hyn yw gwaſanaeth diafol, a ffrwythau ei deyrnas ef, angori yn ei athrawiaeth, yr hon athrawiaeth ſydd gwedi tywyllu Crêd, a meddwi trigolion y ddaiar, gan beri iddynt goelio nad oes mo yſbryd Duw yn y dyddiau hyn, i arwain plant Duw, ac nad yw Criſt yn ei ſaint, na'i yſbryd ef ganddynt, ac nas gwiw i ddynion ddyſgwyl am adnabod Criſt ynddynt eu hunain, yn fywyd i'w bywâu, yn oleuni i'w goleuo, yn arweinydd i'w tywys i bob gwirionedd; na chwaith yn ffynnon i olchi, ac i ddiodi yr eneidiau: Am hyny nid oes dim help i ddynion, ond byw mewn pechodau holl ddyddiau eu bywyd.

Dyben ac amcan diafol yn yr athrawiaeth, neu y bregeth yma, ydyw golchi Criſtionogion ymaith oddiar y ddaiar, ac i gau allan Criſt a'i deyrnas, a'i freniniaeth, a'i lywodraeth, o blith,

ac

ac o galonau dynion mal y gallo osod ei hun i fyny, a sefydlu ei deyrnas dywyll, a'i freniniaeth, a'i lywodraeth y'nghalonau dynion: Ac mewn gwirionedd efe á garioedd ei waith yn y blaen mewn mesur helaeth, yn y nôs o dywyllwch, yr hon à ddygoedd ef i mewn dros addefwyr Crêd, gan eu gwneuthur yn ddieithriaid i Grist, ac i'w waith ef yn eu heneidiau eu hunain, gan ddysgu iddynt gloddio pydewau am ddyfrodd meirwon, a gwrthod, a dibrisio ffynnon y dwfr byw; a hau yn eu plith bob math o'r au-athrawiaeth, gan beri iddynt goelio fod yn rhaid iddynt ei wasanaethu ef (sef Satan) a byw mewn pechod holl ddyddiau eu bywyd, gan addo iddynt gael myned i'r nefodd ar ol marw. Felly rhai á ddywedant mai ewyllys Duw ydyw bod pechodau yn aros yn y saint, i'w cadw yn ddarostyngedig: Y mae hyn, nid yn unig yn anysgrythyrol, ond yn llwyr wrthwynebol i

anian Duw, ac yn groes i bob rhesswm da; canys pechod ydyw yr unig beth sydd yn gwneuthur yr esgariaeth rhwng dynion a'u gwneuthurwr, ac y mae Duw trwy yr holl ysgrythyr, yn galw ei bobl allan oddiwrth bechod i santeiddrwydd, a pherffeithrwydd, a glendid dwylaw, a phurdeb calon, fel y gallont sefyll gydag ef yn ei le santaidd: Felly mae anian Duw, pur a santaidd, yn casâu pob math o anwiredd, pechod, a drygioni, yr hyn ni thrig gydag ef.

Pa fodd, gan hyny, y mae Duw yn ewyllysio bod pechod yn cydbreswylio gydag ef yn ei saint?[m] Ond ewyllys Duw ydyw santeiddio ei bobl; ond ewyllys diafol ydyw cadw dynion yn bechaduriaid tra y byddont ar y ddaiar; canys y mae pob pechod yn rhyw fesur o wasanaeth iddo ef, ac yn tueddu at ei fodloni: A chan belled â hyny, mae ef yn erbyn Duw,

[m] 1 Thess. iv. 3.

ac

ae yn tueddu at ei ddigio, a'i anfóddloni. Ond mawr ydyw y camgymmeriad? Sef cymmeryd ewyllys diafol yn lle ewyllys Duw, mae y rhai hyn yn eu hamlygu eu hunain yn ddieithriaid i'r Arglwydd, ac i'w anian bur ef, yr hwn ſydd burach o olwg nag y geill ef edrych ar anwiredd: Ac lle y mae Duw yn preſwylio, y mae ei gynnrycholdeb ef yn dân yſol i ddifa pob ſothach, ac anmhuredd; canys mae ef yn eiſtedd, fel purwr arian, y'nghalonau eu ſaint, i'w puro, ac i'w golchi, oddiwrth bob pechod: Ac nid y ddadl ydyw fod pechod ynofi, neu fod pechod ynot tithau, ond yr achos o hyny ydyw eiſieu bod Criſt wedi cael ei gyflawn waith ynom ni, gwaed pa un ſydd yn glanâu oddiwrth bob pechod.

Ond lle y maent yn dywedyd mai buddiol yw i'r ſaint fod pechod ynddynt, i'w cadw yn iſel, ac yn ddaroſtyngedig, nid yw hyn ond anwybodaeth, canys mae yn groes i bob

bob rheswm, fod pechodau yn cymhwyso dynion i deyrnas Duw; a gwael yw yr amddiffyn, sef rhoi y naill bechod yn help rhag pechod arall: Ond mewn gwirionedd, ysbryd enwaediad o eiddo yr Iesu sydd yn dysgu i'w bobl ef ymwadu a dwyn y groes: A phan nesaf y byddont at ysbryd ac anian Crist ynddynt eu hunain, mwyaf dirymus yn eu golwg eu hunain, i wneuthur dim o honynt eu hunain, canys maent hwy yn gwybod nas gwiw iddynt ymdrechu yn eu nerth eu hunain, yn erbyn gallu anwiredd, i dòri ymaith eu pechodau, heb gael Crist gyda hwynt yn gymhorth cyfamserol; a chael eu gwisgo a'i ysbryd ef, a'i arfogaeth nefol, fel y gallont wrthsefyll holl gynllwynion diafol: Ac fal ag y maent yn dysgu gan Grist, yr hwn à ddywedoedd,[n] cymmerwch fy iau arnoch, a dysgwch genyf, canys addfwyn ydwyf, a gostyngedig

[n] Math. xi 29

o galon

o galon. Felly efe ſydd yn dyſgu i'w ddilynwyr rodio yn iſel, gan eu gwadu eu hunain, a'u gwneuthur, yn fychain, ac yn dylodion yn eu golwg eu hunain: Ond Satan a phechod ſydd yn gwneuthur, neu yn dyſgu dynion i fod yn feilchion, yn uchel, ac yn dderchafedig, yn fawr yn eu golwg eu hunain, ac yn well na neb arall. Drachefn, lle y maent yn dywedyd fod y ſaint, a gwir blant, a phobl Duw, yn pechu beunydd, mewn meddwl, gair, a gweithred, ond da y fyddai i'r cyfryw rai yſtyried, pa obaith, pa addewidion, pa ddieurwydd, ſydd ganddynt, eu bod yn blant i Dduw, ymhellach na'u bod yn rhyfygu eu galw eu hunain felly.

Pa fodd y geill y rhai hyn feddwl eu bod yn caru Duw, nag yn ennill cariad Duw tuag at eu heneidiau, tra y byddont yn pechu beunydd yn ei erbyn ef, ar feddwl, gair, a gweithred? Canys lle y mae pechod yn tarddu

allan

allan beunydd, mewn gair a gweithred, mae y dyn hwnw bob amſer yn gwaſanaethu diafol, ac nid yw ef yn gallu caru Duw, na chadw mo'i orchymmynion, oblegid nis gellir gwaſanaethu Duw a Mammon. Dywedoedd Criſt:* O cherwch fi, cedwch fy ngorchymmynion: Yr hwn ſydd a'm gorchymmynion ganddo, ac yn eu cadw hwynt, efe yw yr hwn ſydd yn fy ngharu i: A'r hwn ſydd yn fy ngharu, á gerir gan fy Nhâd: A minnau a'i caraf ef, ac a'm hegluraf fy hun iddo. Gwelwn yma y nod yr oedd Criſt yn ei roddi ar ei ddefaid: Felly y bywyd tragywyddol yw ei adnabod ef, a gwrando ar ei lais, a'i ddilyn, a'i garu, a chadw ei orchymmynion; a'r dyn à ddel i adnabod y pethau hyn yn cael eu cario yn y blaen yn ei galon, mae hwn yn dyfod i gael dieurwydd am ei etifeddiaeth; ond dyma yr hyder oedd gan y ſaint yn y brif Eglwys,

* Ioan xiv. 15. 21.

megys

megys y dywedoedd Ioan y discybl anwyl:[p] Wrth hyn y gwyddom yr adwaenom ef, os cadwn ni ei orchymmynion; yr hwn sydd yn dywedyd mi a'i hadwaen ef, ac heb gadw ei orchymmynion, celwyddog yw, a'r gwirionedd nid yw ynddo; eithr yr hwn à gadwo ei air ef, yn wir yn hwn y mae cariad Duw yn gyflawn; wrth hyn y gwyddom ein bod ynddo ef.

Ond pa fodd y gall dyn feddwl ei fod yn Nuw, neu fod cariad Duw ynddo ef, neu ei fod yn wâs, neu yn blentyn iddo, tra y byddo yn gwasanaethu Satan (gelyn Crist, a gelyn pob daioni) ac yn pechu beunydd yn erbyn yr Arglwydd, mewn meddwl, gair, a gweithred? A Christ á ddywedoedd drachefn:[q] Os câr neb fi, ef á geidw fy ngair; a'm Tâd a'i câr yntau; a nyni á ddeuwn atto, ac á wnawn ein trigfa gydag ef. Gwelwn

[p] 1 Ioan. 2, 3, 4, 5. [q] Ioan. xiv. 23.

yma, o enau y gwirionedd ei hun, fod yn rhaid i'r rhai a'i carant ef, gadw ei air, a'i orchymmynion, yna mae addewid hyfryd i'r cyfryw, o ennill cariad Duw tuag atto, ac i Dduw, a Christ ddyfod i breswylio gydag ef yn ei galon: A phan ydyw y Tâd, a'r Mâb yn dyfod i drigfanu yn nghalon y gwir gristion, pa fodd y mae yno le i ddiafol? Mae yn rhaid iddo fyned allan, canys mae un cryfach nag ef wedi cymmeryd meddiant, a dyfod i reoli yn y galon: Yno y mae plentyn Duw, yn cael ei arwain gan ysbryd Duw, yr hwn nid yw yn arwain neb i wneuthur drwg, nag i bechu yn ei erbyn ef ei hunan, ond eu tywys i bob gwirionedd, gan eu rhyddâu oddiwrth fod yn weision i bechod;[r] am hyny hwy a wyddant eu bod o Dduw, am iddo roddi iddynt o'i ysbryd, y'r hwn sydd yn gweithio ynddynt gasineb yn erbyn

[r] Ioan. viii. 32.

bob

pob drygioni, (sef gwaith Satan) ac y mae yn dysgu iddynt garu Duw, a charu eu gilydd, a charu daioni pawb, gan eu rhwymo i wasanaethu eu Tâd nefol, ac i gadw ei orchymmynion ef; am hyny y dywedoedd yr apostol: [s] A'r hwn sydd yn cadw ei orchymmynion, sydd yn trigo ynddo ef, ac efe ynddo yntau: Ac wrth hyn y gwyddom ei fod yn aros ynom, sef o'r ysbryd à roddes ef ini. Felly gwir blant Duw, y rhai sydd gwedi eu geni o'i ysbryd, mae ef yn aros ynddynt, a hwythau yn cael aros ynddo ef, sef yn ei ysbryd, yn ei râd, yn yr anian bur ac anllygredig, o eiddo eu Tâd nefol; a thra byddo y gwir gristion yn aros yn y cyflwr ysbrydol yma, mae ei eiriau ef a'i weithredodd yn cael eu cenedlu yr yn anian dda, ac yn cael eu cario allan drwy arweiniadau ysbryd Duw; ac mewn gwirionedd, nid oes dim o'r rhai hyn yn bechod,

[s] 1 Ioan. iii. 24.

 ond

ond dyma y ffrwyth da, yr hwn y mae pob pren da i'w ddwyn, a phob cangen o'r winwydden, tan boen eu tori ymaith;[t] canys ni ddichon pren da ddwyn ffrwythau drwg, na phren drwg ddwyn ffrwythau da. Felly naill ai gwnewch y pren yn dda, a'i ffrwyth yn dda; ai gwnewch y pren yn ddrwg, a'i ffrwyth yn ddrwg: Canys y pren á adwaenir wrth ei ffrwyth. Gan hyny, mae preniau Duw, sef ei blant ef, yn dwyn ffrwythau da; beth gan hyny, onid oes yma le cymhwys i'r darllenydd, i wneuthur ymofyniad, ai nid yw plant Duw, yn pechu dim un amser; neu á ydyw ef yn ei tòri ymaith, pryd y pechant? Yn wir, mae yn rhaid caniatâu, fod y plant weithiau yn pechu, ac nid yw eu Tâd yn eu bwrw ymaith: Canys pechu ar ryw amserau, mewn profedigaeth à ddelo yn ddi-rybudd, ac i ryw beth anaroglus

[t] Mat. vii. 28 Mat. xii. 23.

yn

yn fyrbwyll dòri allan, ar air, neu weithred, yr hyn á fyddo yn anfodloni eu Tâd, ac yn briwo eu cyflyrau nhwythau: Ond nid y rhai hyn ydyw gweithredodd gorau y plant, ond eu gweithredodd gwaethaf: Ac mewn gwirionedd, y mae rhagoriaeth mawr, rhwng hyn, a bod yn pechu beunydd mewn meddwl, gair, a gweithred; a bod eu gweithredodd goreu yn bechod; canys pa le y mae y plant hyny, er eu bod yn aros yn nhy eu Tâd, ac yn ei wasanaeth ef, nad ydynt ar ryw bryd, mewn rhyw beth, yn anfodloni eu Tâd, ac yn derbyn cerydd addysg, i'w gwneuthur yn fwy gofalus na wnelont felly mwy. Felly y mae plant Duw yn dysgu beunydd garu Duw, ac yn cynnyddu mewn rhâd, a gwybodaeth, a rhinweddau ysbrydol: Ac y maent yn myned bellach bellach oddiwrth bechod, a nês nês at Dduw, trwy adnabod gwaed Iesu Grist, y Mâb, yn eu glanâu oddiwrth bob

 pechod.

pechod. Ond y dadleuwyr yma, y rhai sydd yn dal allan fod gweithredodd goreu y Saint yn bechod, hwy a geisiant ddyfod at yr Ysgrythyrau i wirio eu hathrawiaeth, gan ddwyn i mewn eiriau y prophwyd Esay,* pryd yr oedd efe yn gweddio dros feibion Israel; ac fel y mae yn gyffredin, pan fyddo gweision Duw yn gweddio dros gynnulleidfa, eu dodi eu hunain gyda hwynt wrth eirioli drostynt, er eu bod etto yn bechaduriaid, neu fel yr oedd y bobl hyny, wedi cilio oddiwrth yr Arglwydd; am hyny yr oedd ef yn cwyno: Yr ydym ni oll megys peth aflan, a megys bratiau budron yw ein holl gyfiawnderau, a megys deilen y syrthiasom ni oll; a'n hanwireddau, megys gwynt, a'n dug ni ymaith. Gwelwn yma fod y rhai hyn wedi syrthio, a'u hanwireddau wedi eu cario hwy ymaith oddiwrth yr Arglwydd. Ac nid oes à alwo ar dy

* Esay lxiv. 6.

enw, nac â ymgyfyd i ymaflyd ynot: Canys cuddiaist dy wyneb oddiwrthym, dyfethaist ni o herwydd ein hanwireddau!

Felly yr oedd eu pechodau hwy wedi digio Duw, ac yn peri iddo guddio ei wyneb oddiwrthynt, a'u cyfiawnderau hwynt, y rhai oedd fel bratiau budron, a'r Arglwydd yn blino arnynt: Y cyfryw oedd eu haberthau, a'u hoffrymau, a'u newydd-loerau, a'u Sabbothau, a'u gwyliau gosodedig, a'u defodau allanol, drwy ba rhai yr oeddynt hwy yn meddwl eu bod yn bodloni yr Arglwydd, gan bentyru iddo offrymau heb ufyddiod, ar ba rai nid oedd ef yn edrych, ond yn hyttrach blino yn eu dwyn, a chwyno yn eu herbyn, megys y gwelir drwy yr un brophwyd, gan ddywedyd: * Pa beth yw lluosogrwydd eich aberthau i mi? medd yr Arglwydd, llawn ydwyf o boethaberth-

* Esay i. 11, 12, 13, 14, 15.

yn hyrddod, ac o fraſder anifeiliaid
breiſion; gwaed buſtych hefyd, ac
wyn, a bychod, nid ymhyfrydais
ynddynt. Pan ddeloch i ymddangos
ger fy mron, pwy a geiſioedd hyn ar
eich llaw, ſef ſengi fy nghynteddau?
Na chwanegwch ddwyn offrwm ofer;
arogldarth ſydd ffiaidd genyf; ni
allaf oddef y newydd-loerau na'r
ſabbothau; cyhoeddi cymmanfa, an-
wiredd ydyw, ſef yr uchel-wyl gyf-
arfod. Eich lleuadau newyddion, a'ch
gwyliau goſodedig, á gaſâoedd fy
enaid; y maent yn faich arnaf;
blinais yn eu dwyn. A phan eſtyn-
och eich dwylaw, mi a guddiaf fy
llygaid rhagoch: Hefyd, pan weddioch
lawer, ni wrandawaf: Eich dwylaw
ſydd lawn o waed.

Ond dyma y cyfiawnderau, y rhai
oedd, ác y ſydd, y'ngolwg yr Ar-
glwydd fel bratiau budron, ffiaidd,
ac anaroglus, ar ba rai nid yw yn
edrych? Yr oedd y bobl hyny yn
bwriadu

bwriadu bodloni yr Arglwydd, a'u traddodiadau, a'u defodau allanol, yr hyn yr oeddynt yn ei gyfrifo yn wasanaeth iddo, ac yn ddyledswyddau arnynt hwythau eu cyflawni. Ond oblegid eu bod hwy yn genedl bechadurus, yn bobl lwythog o anwiredd, a chwedi gwrthod yr Arglwydd, a digio Sant Israel, a chilio yn ol: Am hyny, nid oedd yr Arglwydd yn edrych ar eu hoffrymau, nag yn eu derbyn, ond yn hyttrach eu casâu, a blino yn eu dwyn: Ac er mai y rhai hyny oedd eu gweithredodd goreu hwynt, a'u cyfiawnderau, y rhai yr oeddynt yn ymddiried ynddynt, ond nid oedd dim o honynt yn gymmeradwy gydá Duw, am hyny yr oedd ef yn cuddio ei wyneb oddiwrth y bobl hyny, oblegid fod eu hanwiredd wedi eu cario hwy ymaith oddiwrtho ef, i wrthryfela yn ei erbyn, ac i'w ddigio beunydd. Felly pan weddiynt lawer, nid oedd ef yn

gwrando

gwrando arnynt, canys drygionus oedd eu calonau, a'u dwylaw yn llawn o waed. Ond pa beth ydyw y cyfiawnderau yma, i'w cyffelybu i gyfiawnder Crist? Yr hwn sydd yn cyfiawnâu ei ddilynwyr tan y cyfammod newydd, trwy eu golchi a'u glanhau, eu puro a'u sainteiddio, gan ei râd, a'i ysbryd, a'u cymhwyso i wasanaethu Duw mewn newydddeb buchedd. Pa beth hefyd ydyw gweithredodd goreu, y dynion drygionus hyny, i'w cyffelybu i weithredodd goreu plant yr enedigaeth newydd, wyn a defaid Crist, canghenau y wir winydden, y rhai sydd yn dwyn ffrwythau ysbrydol, y rhai sydd yn tarddu oddiwrth y gwreiddyn peraidd, pur, ac anllygredig? A'r cyfryw y mae Crist drwy ei ysbryd yn eu tywys i bob gwirionedd.

Ond y mae ganddynt un gwrthresswm arall, yr hwn y maent yn ei dybied ei fod yn gadarn ac nad ellir atteb iddo; a hyny oddiwrth eiriau

yr apostol Ioan, yr hwn á ddywedodd fwyaf ac egluraf yn erbyn pechod o'r holl saint, y rhai yr ydym ni yn darllen am eu tystiolaethau:[m] Os dywedwn nad oes ynom bechod, yr ydym yn twyllo ein hunain, a'r gwirionedd nid yw ynom. Beth gan hyny, onid oedd yr apostol, yn y lle yma, yn ei ddodi ei hunan gydag ereill, sef yr holl rai oedd wedi derbyn y ffydd gristionogol; ac y mae yn debyg ddigon, fod amryw o honynt yn ieuainc, ac yn weiniaid, ac heb adnabod mo'u pechodau, neu heb ddyfod i'w cyfaddef; am hyny fe á ddywedoedd:[n] Os cyfaddefwn ein pechodau, ffyddlon yw ef, a chyfiawn, fel y maddeuo i ni ein pechodau, ac i'n glanâo oddiwrth bob anghyfiawnder. Felly dyben yr apostol oedd eu cynghori i gyfaddef eu pechodau, drwy edifeirwch, fel y byddai i'r Arglwydd eu maddeu iddynt, a'u

[m] Ioan i. 8. [n] 1 Ioan i. 9, 7.

glanân

glanâu oddiwrthynt; ac nid i fyw ynddynt eu holl ddyddiau; fel y dywedoedd ef o'r blaen, Os rhodiwn yn y goleuni, megys y mae efe yn y goleuni, y mae i ni gymdeithas a'n gilydd, a gwaed Iesu Grist ei Fâb ef sydd yn ein glanâu ni oddiwrth bob pechod. Felly, yr oedd efe am iddynt gael eu golchi, a'u glanâu, eu puro a'u santeiddio: Gan hyny, nid wyfi yn gweled dim achos i ganiatâu, fod Ioan y discybl anwyl, ei hunan, yn bechadur, mwy nag yr oedd Iago yn fellldithiwr, er ei fod yn ei roddi ei hunan gydag ereill, y pryd yr oedd efe yn dywedyd am y tafod:* Ag ef yr ydym yn bendithio Duw, a'r Tâd: Ag ef hefyd yr ydym yn mellditihio dynion, à wnaethpwyd ar lun Duw. O'r un genau y mae yn dyfod allan fendith a melldith; fy mrodyr ni ddylai y pethau hyn fod felly. Gan hyny pwy à ddichon feddwl nad oedd

* Iago iii. 9, 10.

Iago yn lân oddiwrth y pechod hwnw, yr hwn yr oedd ef yn ei farnu yn ei frodyr; a diammau, yr oedd Ioan gwedi ei olchi a'i lanâu oddiwrth ei bechodau, er bod y rhai yr oedd ef yn ysgrifenu attynt heb eu puro yn gwbl, ond rhai wedi eu glanâu mewn mesur helaeth, ac ereill mewn mesur llai; rhai yn fychain, ac yn weiniaid, yn dechreu eu pererindod; am hyny yr oedd ef yn dywedyd, gwaed Iesu Grist, Mâb Duw, sydd yn ein glanâu ni.

Felly y mae ef yn myned yn y blaen, yn ei ail Bennod:. Fy mhlant bychain, y pethau hyn yr wyf yn eu hysgrifenu attoch, fel nas pechoch: Ac o pecha neb, y mae i ni eiriolwr gyda'r Tâd, Iesu Grist y cyfiawn. Gwelwn yma y camddefnydd y mae dynion yn ei wneuthur o eiriau Ioan, yr hyn yr oedd ef yn ei ysgrifenu at ei gyfeillion, i'w hannogi, na byddai iddynt bechu; y maent hwy yn eu cymmeryd yn achlysur i fyw mewn

pechodau,

pechodau, ac i ddadleu drostynt: Ond os pecha neb, drwy ryw brofedigaeth, yr oedd ef yn dangos iddynt yr help, a'r amddiffyn oedd iddynt i'w gael, sef rhodio yn y goleuni, fel y byddai i waed Iesu Grist eu glanâu oddiwrth bob pechod: Felly y mae ef yn myned rhagddo.[p] Pob un ag sydd yn gwneuthur pechod, sydd hefyd yn gwneuthur anghyfraith, oblegid anghyfraith yw pechod. Wrth hyn y mae yn eglur, a phwy à ddichon wadu, fod pechod yn tòri cyfraith Duw, yr hon y mae ef yn ei hysgrifenu y'nghalonau ei bobl, yr hon y mae pob gwir gristion, yn rhwym i'w chadw, a'i chyflawni, tan boen ei dòri ymaith. A chwi á wyddoch ymddangos o hono ef fel y dileai ein pechodau ni: Ac ynddo ef nid oes bechod. Felly dyna y dyben o ymddangosiad Crist yn y cnawd, ac hefyd yn ei ysbryd, y'nghalonau ei

[p] 1 Ioan iii. 4, 5, 6, 7, 8, 9.

bobl, sef i ddilea eu pechodau, ac i'w gwared allan o honynt, a'u gwneuthur yn eu mesurau, i debygu iddo ef ei hun, yn yr hwn nid oes bechod. Drachefn, pob un ag sydd yn aros ynddo ef nid yw yn pechu. Pob un ag sydd yn pechu, nis gweloedd, ac nis adnabu ef. Hyny ydyw tra yr aroso dyn yn ysbryd Crist, sef yn yr anian dda, nid yw ef ddim yn pechu: Ond y rhai sydd yn ymfodloni i drigo beunydd mewn pechod, mae y rhai hyn heb adnabod, na dyfod atto ef, yr hwn sydd i'w golchi. O blant bychain, na thwylled neb chwi! Yr hwn sydd yn gwneuthur cyfiawnder sydd gyfiawn, megys y mae Yntau yn gyfiawn. Yr hwn sydd yn gwneuthur pechod o ddiafol y mae: Canys y mae diafol yn pechu o'r dechreuad: I hyn yr ymddangosoedd Mâb Duw, fel y dattodai weithredodd diafol. Felly, fel ag y mae Satan yn pechu beunydd o'i ddechreu hyd ei ddiwedd,

 a'r

a'r dynion ſydd yn gwneuthur felly, y maent hwy yn tebygu iddo, i'r hwn y maent yn weiſion, ac yn ddeiliaid. Ond gwaith Criſt ydyw diniſtrio ei waith ef, a rhyddâu dynion o'i garcharau, ac o'i waſanaeth. Pob un à aned o Dduw, nid yw yn gwneuthur pechod; oblegid y mae ei hâd yn aros ynddo ef, ac ni all ef bechu, am ei eni ef o Dduw.

Felly mae pob criſtion cywir mewn rhyw feſur, wedi ei eni o Dduw, a'i hâd ef i aros ynddo, ac yntau i aros yn Nuw; a thra yr aroſo y dyn ynddo ef, ni all mo'r pechu: Ac fel y dywedoedd Criſt ei hunan,[q] yr hwn ſydd yn gwneuthur gwirionedd, ſydd yn dyfod i'r goleuni, fel yr eglurâer ei weithredodd ef, mai yn Nuw y gwnaed hwynt. A'r gweithredodd ſydd yn cael eu gwneuthur yn Nuw, mae y rhai hyny i gyd yn bur; canys nid eill dim drwg gael mo'i genedlu

[q] Ioan iii. 21.

ynddo

ynddo ef; am hyny ni all y Criftion mo'r pechu yn yfbryd, ac yn anian, Duw. Ond yn gymmaint â bod llawer o neillduaeth a gwahaniaeth tybiadau; a phob cynnulleidfa yn gyffredin yn cyfrif eu hunain yn wir eglwys, a phawb ereill yn y tywyllwch, a'r cyfeiliornedd; ac mai gofodaethau, a thraddodiadau eu heglwys hwy yn unig, ydyw y gwir wafanaeth, a'r dyledfwyddau fydd yn bodloni Duw: Am hyny y maent yn barod i ddywedyd, gan ein bod ni y faint, ac unig bobl Duw, yn methu cael goruchafiaeth dros bechod, ofer yw i bawb ereill fôn am gywirdeb. Ac y mae rhai mor hyf, ac mor ddigywilydd ag y dywedant, ni bu neb erioed gywir ar y ddaiar. Mae y rhai hyn yn anyftyriol, yn dodi i Dduw y celwydd, yr hwn á ddywedoedd am Iôb, ei fod ef yn wr cywir; ac os oedd Iôb yn gywir, fel y mae yn ddiammau ei fod ef, ac amryw ereill,

cyn dyfod Crist yn y cnawd, pa faint mwy gan hyny y mae Duw y nefodd yn galw, ac yn dysgwyl am gywirdeb dan y cyfammod newydd, pryd y mae ef yn tywallt o'r ysbryd yn fwy helaethach i galonau ei bobl, ac ysgrifenu yno ei gyfraith?

Pa fodd gan hyny y mae cywirdeb wedi dyfod yn analluadwy dan y cyfammod newydd? A ddywedwn ni fod Crist yn rhoddi ar ei ddilynwyr feichiau nas gallent byth eu dwyn, yr hwn á ddywedoedd,[r] Mae fy iau yn esmwyth, ac y mae fy maich yn ysgafn: Felly efe á orchymmynoedd iddynt,[r] Byddwch gan hyny yn gywir, fel y mae eich Tâd, yr hwn sydd yn y nefodd, yn gywir. Felly cywirdeb á ddichon gan blant Duw gyrhaedd atto yn y bywyd hwn; canys mwy yw yr hwn sydd ynddynt hwy, na'r hwn sydd yn y byd.[s] Mwy a chryfach

[r] Matth, xi. 30. Matth. v. 48.

[s] 1 Ioan iv. 4.

ydyw

ydyw gallu Duw, yr hwn sydd yn helpu ei blant, a'i bobl, i orchfygu pob pechod, a drygioni, a rhoi iddynt allu i'w ddilyn ef, ac i'w wasanaethu mewn ufydddod, cywirdeb, a santeiddrwydd, a glendid dwylaw, nag ydyw gallu diafol, yr hwn sydd yn tywys, ac yn arwain ei ddilynwyr i bechod, a drygioni. Ond y mae dynion, wrth ddadleu dros bechod, yn hòni fod yn rhaid trigo ynddo, yr hyn ydyw gwaith y gelyn, a chwant cnawdol, drwy ba rai y maent yn gwrthryfela yn erbyn Duw, ac yn erbyn eu heneidiau eu hunain, maent yn llwyr wadu y cyfammod, yr hwn yr aethant dano, wrth eu bedyddio, lle y mae y dyn yn addaw ymwrthod â diafol, a'i holl weithredodd, rhodres, a gorwagedd y byd anwir, pechadurus chwantau y cnawd, a chadw gwynfydedig ewyllys Duw, a'i orchymmynion, a rhodio ynddynt holl ddyddiau ei fywyd. Ond dyma, y radd

uchaf o gywirdeb y mae neb yn sôn am dano? Ac er sefydlu yr achos, mae y dyn i ddywedyd, drwy help Duw, felly y gwnaf. Trwy ei help ef, fe ddichon itti, ond nis dichonir byth hebddo.

Ond paham y mae dy ffydd di yn awr yn pallu, a'r gobaith o ennill y frwydr yn erbyn gelyn dy enaid yn cwympo i lawr? A wyt ti yn ammheus nad eill Duw dy helpu i ymwrthod â diafol, ac a'th holl chwantau cnawdol, ac i gadw ei orchymmynion ef? Canys nid yw y Tâd, tyner a thrugarog, yn rhoddi dim gorchymmynion, na beichiau ar ei blant, na'i weision, ond yr hyn â allant yn esmwyth ei gyflawni, ond cymmeryd ei help ef; oblegid efe á weithia y gwaith ynddynt, yr hyn nas gallant hwy mo'i wneuthur, na neb arall ond efe yn unig.

Onid wyt ti yn dywedyd yn dy Egwyddorion? Mai y rhâd ysbrydol

oddimewn

oddimewn ydyw marwolaeth i bechod, a genedigaeth newydd i gyfiawnder. O na chadwai y dynion at yr egwyddorion cywir, a cheisio yn ddifrifol râd gan Duw i dòri ymaith, ac i ladd eu pechodau! Ond eisieu bod addefwyr, yr oes hon yn adnabod Crist, drwy ysbryd ei râd, a'i awdurdod nefol yn eistedd ar ei orseddfainc yn eu calonau, i farnu pechod i farwolaeth. Am hyny mae cnawd yn eistedd ar y fainc, ac yn arbed pechod, ac yn dadleu drosto.

Ond pan ddel dyn i ymwrando a'i gydwybod, fe á geiff deimlo mai pechod sydd yn tòri ei heddwch ef, ac y mae yr un tyst oddimewn yn mynegu iddo fod rhâd Duw yn abl i'w helpu ef, i ymwrthod â phob pechod, a drygioni. Yr oedd y grediniaeth dda hon, gan y prydydd, yr hwn á ddywedoedd mewn ffordd o weddi—

Yr wy'n bwriadu, rhag dy gâs,
 Ond cael dy râs i'm helpu,
Lle bum yn pechu, am gwàr yn fyth,
 Na wnelwyf byth ond hyny:

Nis galla'i ddim, o'm rhan fy hun,
 Ond fel y mochyn eilwaith,
Ymdroi 'n y dom, Duw gwared fi,
 O bob drygioni diffaith!

Felly yr oedd hwn yn credu, ond cael rhad Duw i'w helpu, fod yn ddichon iddo orchfygu pechod, a pheidio â gwneuthur anwiredd mwy; ac hefyd nas gallai ef ddim, o hono ei hunan, ond llithro beunydd, oni byddai i'r Arglwydd ei waredu ef o bob drygioni. Ond y mae rhai dynion yn ymddangos yn grefyddol, gan eu gosod eu hunain ar waith, i ysgythru pren anwiredd, gan geisio tòri ymaith y canghenau, fel y byddont yn tyfu, dyma y llafur, a'r ymdrech anobeithiol, y maent hwy yn

ei gyfrif yn fuddiol iddynt, fod ynddo holl ddyddiau eu bywyd, a gadel y pren yn fyw, ac i ddwyn canghenau, fel y caffont waith beunydd i'w yfgythru: Beth gan hyny, á ydynt hwy yn tybied, os bydd marw y pren, nad oes ganddynt ddim mwy i'w wneuthur tuag at waith eu hiechydwriaeth? Ond mewn gwirionedd, adnabod y rhâd yfbrydol oddimewn, yn marweiddio y pren, gan ladd ei wraidd ef, dyma iechydwriaeth yr enaid, fel y byddo lle i bren y bywyd, fef y gwirionedd, Crift oddimewn, i dyfu yn yr enaid, ac i ddwyn allan ei ffrwythau da ei hunan.

Gan hyny rhodded pob gwir griftion ei fwyall ei hun i lawr, a gweddied ar Dduw am râd, i farweiddio, ac i ladd ei holl chwantau cnawdol, ac i roddi iddo oruchafiaeth dros ddiafol, a'i holl brofedigaethau, pechod, a drygioni. Ond yr wyf i yn credu fod rhai dynion wedi iddynt

geifio

geisio help gan Dduw yn erbyn pob anwiredd, a chwantau cnawdol, ac iddo ef wrando arnynt, a chyfrannu iddynt fesur o'i râd, a'i ysbryd, fel ag y byddai eu geiriau a'u gweithredodd, mewn mesur yn tarddu oddiwrth ysbryd Duw, ac oddiwrth yr, anian dda: Ond er hyny, y mae eu hegwyddorion yn eu rhwymo, i gyfrifo y cwbl o'u geiriau, a'u gweithredodd, bydded drwg, bydded da, yr un ffordd, yn bechod; ac yn hyny y maent yn gwneuthur cam a'r Arglwydd, a cham â nhwy eu hunain, eisieu bod eu hegwyddorion yn caniatâu iddynt wneuthur rhagor rhwng drwg a da, a dyfod fel genau yr Arglwydd; canys pan ydyw plentyn Duw yn pechu, y mae ef yn adnabod, yn fuan, gerydd oddiwrth ei Dâd, fel cwmwl yn dyfod arno, briw a blinder am fod ei Dâd yn cuddio ei wyneb, ond pan wnel ddaioni, mae ei Dâd yn gwenu arno, gan ei obrwyo â chysur, a diddanwch,

diddanwch, a llefaru iddo heddwch; yna fe á wyr y plentyn nad pechod oedd yr hyn à wnaethai ef y pryd hyny.

# Y BUMMED BENNOD.

## *Ynghylch Bedydd.*

FE á ddywedoedd Crist wrth Nicodemus,[1] Yn wir, yn wir, meddaf i ti, oddieithr geni dyn drachefn, ni ddichon efe weled teyrnas Duw: Canys ysbryd ydyw Duw; am hyny mae yn rhaid i blant Duw, gael eu geni o'r ysbryd: Yr hyn à aned o'r cnawd sydd gnawd; a'r hyn á aned o'r ysbryd sydd ysbryd: Na ryfedda ddywedyd o honofi wrthit, y mae yn rhaid eich geni chwi drachefn.

Ond dyma yr enedigaeth, nis geill dynion y'nghyflwr anian, mwy na Nicodemus, mo'i hadnabod, na'i hamgyffred, nes y delo yr Arglwydd i ddechreu gweithio yn eu heneidiau hwy eu hunain; canys trwy foddion ysbrydol y mae Duw yn gweithio yr

[1] Ioan iii. 3.

bendigaeth newydd y'nghalonau ei bobl: Felly fel y mae ef yn air tragywyddol, mae ef fel tan, a gordd, i ddryllio, ac i agoryd y calonau caledion, ac i'w meddalâu; efe hefyd ydyw ffynnon y dyfrodd byw, yr hon y mae dynion yn ei gwrthod: Ac y mae rhinwedd y dwfr i olchi, ac i iachâu: Ond dyma y pethau nis geill y dyn anianol mo'u hamgyffred, oblegid yn ysbrydol y bernir hwynt; ac nid yw cnawd yn cael mo'r lle i'w osod ei hun ar waith; am hyny mae yn rhaid i'r dynion digyfnewidiol, gael pob peth yn gnawdol, ac yn allanol, fel y gallo cig a gwaed eu hamgyffred, a dychymygion, a rhefwm dynol, ymdrin, a llafurio ynddo: Ond yr Arglwydd mewn cyd-ddygiad i'w bobl ef ei hunan, sef plant Israel, efe a draddodes iddynt amryw osodaethau a defodau, sef golchiadau, puredigaeth, ac aberthau, y rhai oedd bethau oddiallan, yn arwyddo y

ſylwedd oedd i'w ddatguddio y'nghyf-
lawnder yr amſerodd; ac yr oedd y
cyſgodau, a'r arwyddion hyny, i aros
ac i ſefyll hyd amſer yr adferiad, ſef
Criſt i ddyfod i oſod i fyny weinidog-
aeth, ac addoliad mwy ſylweddol, ac
yſbrydol: Ac yr oedd eu golchiadau
hwynt yn myned tan enw bedydd,
ond yn ddiweddaf o'r holl arwyddion,
a'r cyſgodau hyny, fe á ddanfonoedd
yr Arglwydd Ioan i drochi y bobl yn
yr Iorddonen, gan gyfaddef eu pech-
odau er parotoi ffordd i Griſt.

Ac yno Ioan á ddywedoedd,[u] Myfi
yn ddiau ydwyf yn eich bedyddio â
dwfr i edifeirwch, eithr yr hwn ſydd
yn dyfod ar fy ôl ſydd gryfach na
myfi; efe a'ch bedyddia chwi â'r
Yſbryd Glân, ac â thân. Felly yr
oedd rhagor rhwng bedydd Criſt a
bedydd Ioan; canys nid oeddynt o'r
un anian, nag o'r un defnydd, oblegid
yr oedd un yn bedyddio â dwfr

[u] Math. iii. 11.

allanol,

allanol, a'r llall yn bedyddio ag yſbryd Duw, ac â thân yſbrydol; yr oedd un yn golchi y corph, a'r llall yn golchi yr enaid. Felly yr oedd Criſt yn gorchymmyn i'w ddiſgyblion,* Nad ymadawynt o Ieruſalem, eithr dyſgwyl am addewid y Tâd, yr hyn, ebai ef, á glywſoch genyfi: Oblegid Ioan yn ddiau â fedyddioedd â dwfr, ond chwi á fedyddir â'r Yſbryd Glân, cyn nemawr o ddyddiau. Y mae y ddwy dyſtiolaeth yma yn cyduno yn dda a'u gilydd, a phob un yn gwneuthur bedydd Criſt a bedydd Ioan, yn ddau fedydd. Bedydd Ioan oedd gyſgod allanol yn arwyddo; ond bedydd Criſt oedd y ſylwedd, a'r peth achubol: Yr oedd bedydd Ioan a'i weinidogaeth yn ſefyll yn unig mewn grym, yn yr amſer yr oedd Criſt yn rhodio ar y ddaiar; am hyny fe aeth Criſt i'w fedydd ef, er cyflawni y weinidogaeth; eithr Ioan

* Act i. 4, 5.

 á oraf-

á orafunoedd iddo ef, gan ddywedyd, Y mae arnaf fi eifieu fy medyddio genyt ti; ac á ddeui di attaf fi? Ond yr Iefu á atteboedd, Gâd yr awrhon; canys fel hyn y mae yn weddus gyflawni pob cyfiawnder; yna Ioan à adawoedd iddo. Ac fel yr oedd Ioan á'i fedydd, a'i weinidogaeth i leiáu, ac i fyned heibio; felly yr oedd Crift a'i fedydd, a'i weinidogaeth i gynnyddu, a'u gofod i fyny i fefyll hyd y diwedd; am hyny bedydd Crift oedd yr unig fedydd, yr hwn oedd, ac fydd yn gwared, ac yn achub yr eneidiau; am hyny y dywedoedd yr apoftol:[x] Un Arglwydd, un Ffydd, un Bedydd. A phan nad oedd ond un bedydd i fefyll i fyny, mwy nag yr oedd ond un Arglwydd, ac un Ffydd, ac un Duw: Diammeu ydyw mai bedydd Crift oedd y bedydd hwnw. Ond efe á ganiatâoedd yr Iefu i'w ddifgyblion fedyddio â dwfr,

[x] Eph. iv 5.

er cyflawni gweinidogaeth Ioan, hyd oni ddelai yr amser i fedyddio â'r Ysbryd Glân: Ac fel yr oedd y disgyblion yn caru Ioan, ac yn perchi ei weinidogaeth ef, ac yn naturiol i hyny, wrth y gosodaethau Iuddewaidd; felly hwy á wnaethant arfer o hono yn rhyddid, ymhlith y rhai oedd yn credu; ond hwy á wyddynt nad hwnw oedd bedydd yr Ysbryd Glan; megys ag y sylwoedd Petr, pan oedd ef yn pregethu yn nhy Cornelius, a'r Ysbryd Glân yn disgyn ar y bobl:[r] Yna y cofiais air yr Arglwydd, y modd y dywedasai efe: Ioan yn wir á fedyddioedd â dwfr, eithr chwi á fedyddir â'r Ysbryd Glân. Ond pan ddaeth tywyllwch i mewn i blith y Cristionogion, a cholli o honynt y golwg ar Grist oddimewn, ac ar fedydd yr Ysbryd Glân, yna nid oedd dim ond derchafu yr arwydd yn lle y sylwedd, a'i gosod i fyny megys

r Act. xi. 16.

borth iechydwriaeth, a dodi iddo enw mawr yn yr eglwys, trwy gyfrif mai dyna y moddion sydd yn gwneuthur dyn yn Gristion; ond rhai sydd yn arfer y ffordd o fedydd dwfr, fel ag yr oedd yr apostolion yn ei arfer, heb roddi mo'n pwys arno, ond i'w gyflawni o herwydd eu bod yn coelio ei fod yn ddyledswydd arnynt. Nid wyfi yn barnu mo'r cyfryw rai; ond y peth niweidiol ydyw, pan yw dynion yn derchafu rhyw draddodiad allanol, gan bwyso arno am iechydwriaeth, mae eu bryd hwynt yn myned yn fawr am dano; a phan fwyaf à fyddo eu bryd, mwyaf y maent yn ei wneuthur yn eulyn; ac yna nis gallant oddef cymmaint â gofyn o ba le y daeth? Pa ysgrythyr sydd am dano? Mae yn y bryd tywyll yma fustl, a gwaed, ac ymddial; a'r fath fryd â hwn â fu yn achos i ferthyron Iesu yn fynych golli eu gwaed; canys cenadwri y cenadon

y byddai

y byddai Duw yn eu danfon, oedd dwyn eu tystiolaeth yn erbyn pob math o eulynod: A phan ddaeth y Cristionogion i gwbl goelio fod y bedydd dwfr yn angenrheidol i iechydwriaeth, hwy á farnasant fod yn angenrhaid fedyddio plant bychain, rhag iddynt farw cyn cael bedydd, a bod yn golledig; ond pan welsont fod yn beth niweidiol i rai plant bychain gweiniaid eu trochi tros eu pènau yn y dwfr, yna dychymygasant ffordd arall i fedyddio, yr hon sydd lygredig ac anysgrythyrol; ac er i'r Protesteiniaid dystio, nad oedd y bedydd dwfr ddim yn angenrhaid i iechydwriaeth, ac megys ag y cyfaddefa y bobl weddol, ac ystyriol, yn eglwys Loegr, nad ydyw y bedydd dwfr yn gwneuthur dim i'r enaid; ond er hyny ymlysgoedd i mewn i'w plith, oddiwrth eglwys Rufain, yn yr un ffordd lygredig, hyd onid ydyw y dynion

tywyll

tywyll, ymhlith y Protesteiniaid, yr un llais â'r Pabydd.

"O! O! Y Bedydd Santaidd, O! gwnewch y dyn yn Gristion:" Am hyny, pan enir plentyn i'r byd, mae yn rhaid gwneuthur brys i fyned ag ef, fel y dywedant, i'w wneuthur yn Gristion. Yn awr gan hyny, O ddyn anystyriol, á elli di oddef ychydig i ni fwrw golwg, a thrin tipyn bach ar y peth hwn, i edrych â oes bywyd ynddo, ac hyd yn mha le y mae ef yn gydunol â'r ysgrythyrau? Hwynthwy á ddywedant mai dau Sacrament á drefnoedd Crist yn ei Eglwys, pryd nad ydym ni yn darllen i Grist erioed sôn am Sacrament, ac nad oes dim o'r fath air â Sacrament yn yr holl Ysgrythyr: Ond hwy' á ddywedant, nid yn yr enw y mae y peth yn sefyll, ond y peth yr ym ni yn ei feddwl am y Sacrament hwn yw y Bedydd. Beth gan hyny, á ydyw y ffordd hon

o fedydd

o fedydd yr ym ni yn awr yn fôn am dano, yn fwy cydunol â'r Yfgrythyrau na'r gair Sacrament? Mae hyny etto heb ei wneuthur allan.

Drachefn hwy á ddywedant, yr ydym ni oll wrth naturiaeth wedi ein geni yn blant digofaint, a thrwy fedydd y gwneir ni yn blant y rhâd. Yr wyfi yn llwyr wadu, nad yw y plant bychain newydd eni, ddim yn blant digofaint; ac hefyd, nad trwy y fath fedydd â hwn, yr ym ni yn awr yn fôn am dano, y gwneir neb yn blant y rhâd. Onid yw plant bychain newydd eni yn ddibechod? Canys cyn dyfod pechod, fe á edrychoedd Duw ar y cwbl ar à wnaethai, a da oeddynt yn ei olwg: Ond hwy á ddywedant, pan bechoedd Adda, fe ddygoedd i mewn bechod, ar ei holl hiliogaeth, ac y maent yn gyfranogion o'i bechod ef; a bod plant Adda yn dyfod wrth naturiaeth yn bechaduriaid. Mae hyny i'w ganiatâu; ond

eu

eu geni hwy yn blant digofaint, a bod Duw yn cyfrif pechod iddynt cyn iddynt bechu, mae hyny yn cael ei wadu; canys fe á ddywedoedd yr apostol:[z] Lle nid oes deddf, nid oes gamwedd. Gan hyny nid yw cyflyrau plant newydd eni yn amgyffred, nag yn gallu cyrhaedd dyfod dan yr un ddeddf; am hyny ni chyfrifir iddynt gamwedd.[a] Eithr ni chyfrifir pechod, pryd nad oes deddf; felly lle nid oes gamwedd, na phechod, pa wedd y gallwn ni feddwl fod barnedigaeth? Ond y rhai sydd yn dal allan golledigaeth plant bychain, hwy á dybiant fod ganddynt sail amdano oddiwrth eiriau y Prophwyd, yr hwn á ddywedoedd:[b] Mewn anwiredd i'm lluniwyd, ac mewn pechod y beichiogoedd fy mam arnaf. Onid yw y pechod yma yn hytrach i'w gyfrif i'r rhieni, nag i'r plentyn? Canys nid yw ef yn dywedyd, fy mam

[z] Rhuf. iv. 15. [a] Rhuf. v. 13. [b] Psal. li. 5.

y feichiogoedd arnafi yn bechadur, ond mewn pechod y beichiogoedd fy mam arnaf; Ac y mae yr ysgrythyr yn dywedyd mai[c] yr enaid à becho, hwnw á fydd marw; y mâb ni ddwg anwiredd y tâd, a'r tâd ni ddwg anwiredd y mâb: Ond am yr anwiredd à wnelo y dyn ei hun y bydd efe marw. O! myfi á debygwn fod geiriau Crist ei hunan yn ddigon i roi bodlondeb i bob dyn ystyriol, a diduedd; ac i roi y ddadl yma allan o bob ammheuaeth; yr hwn oedd yn mawrâu cyflyrau y plant bychain, gan ddywedyd wrth ei ddisgyblion: [d] Oddieithr eich troi chwi, a'ch gwneuthur fel plant bychain, nid ewch chwi ddim i mewn i deyrnas nefodd. Gwelwn yma fod Crist yn perchi cyflyrau y plant bychain, uwchlaw cyflyrau ei ddisgyblion, pryd yr oeddynt hwy yn ymofyn, pwy á fyddai fwyaf yn nheyrnas nefodd; ac yntau wedi galw atto fachgenyn, a'i osod yn eu

[c] Esec. xviii. 20. 26. [d] Matth. xviii. 3, 4. 10.

canol

canol hwynt, efe á ddywedodd ymhellach, pwy bynag gan hyny a'i gostyngo ei hunan, fel y bachgenyn hwn, hwnw yw y mwyaf yn nheyrnas nefodd. Edrychwch na ddirmygoch yr un o'r rhai bychain hyn: Canys yr ydwyf yn dywedyd i chwi, fod eu hangelion hwy yn y nefodd, bob amser yn gweled wyneb fy Nhâd, yr hwn sydd yn y nefodd. Dyma fara y brenin, yr hwn ā wyr yn well na dynion, pwy sydd gymhwys i fyned i mewn i'w deyrnas ef.

Efe hefyd ydyw drws y defaid; ac efe á edwyn ei eiddo ei hun, a phwy ydyw rhai sydd yn myned i mewn trwyddo ef. Os bydd neb mor anwybodus â meddwl fod y plant hyny, y rhai yr oedd Crist yn eu llwyr berchi, wedi eu bedyddio; Nid oedd dim bedyddio plant bychain yn yr amserodd hyny; ac nid oes dim achos i neb feddwl fod cyflyrau plant bychain yn waeth yr amserodd hyn

na'r

na'r pryd hyny. Felly gorchymmyn Crist oedd, edrychwch na ddirmygoch yr un o'r rhai bychain hyn, angelion pa rai sydd yn gweled wyneb Duw: Ond nid yw y dynion tywyll yn cymmeryd fawr sylw beth à ddywedo Crist: Ond yr egwyddorion, y byddant hwy wedi eu derbyn trwy draddodiad oddiwrth flaenoriaid eu heglwysi, hyny y maent hwy yn eu gredu, ac á fynant ei fod yn wirionedd; Am hyny nid ydynt yn arswydo bychanu cyflyrau y plant bychain, y rhai à fyddo newydd ddyfod i'r byd odditan law eu gwneuthurwr cywir: Yr hwn à wnaeth bob peth yn dda, ac wrth ei fodd ei hunan. Ond y maent yn cyfrif y plentyn yn Iuddew, neu ryw allrud anghymmeradwy, nes yr elont ag ef at yr offeiriad i gael ei wneuthur (fel ag y maent hwy yn barnu) yn Gristion, ac yn gymmeradwy; ac os bydd marw y plentyn, cyn ei fedyddio, nid ydynt yn barnu yn gym-

hwys mo'i gladdu ef fel Criſtion yn ol trefn yr Eglwys; ond wedi iddo fod tan law yr offeiriad, os bydd efe marw cyn pechu, nid oes dim ammheuaeth am ei iechydwriaeth ef. Beth gan hyny à feddylir wrth y pethau hyn, ai ni fedrai, neu nis gallai Duw wneuthur mo'r plentyn wrth ei fodd ei hunan? Ond yr offeiriad ſydd yn medru, ac yn gallu gwneuthur y dyn wrth fodd yr Aglwydd: Gan hyny mae hi yn bryd myned a'r plentyn at yr offeiriad; yno mae yn rhaid cael meichiau i ymrwymo troſto; yn gyntaf, ar fod iddo ymwrthod â diafol a'i holl weithredodd, rhodres, a gorwagedd y byd anwir, a holl bechadurus chwantau y cnawd, yn ail, bod iddo gredu holl bynciau ffydd Criſt; yn drydydd, bod iddo gadw gwynfydedig ewyllys Duw, a'i orchymmynion, a rhodio ynddynt holl ddyddiau ei fywyd.

Ac er eu bod hwy eu hunain yn barnu,

barnu, nas gallant gyflawni mo'r addewidion hyn, mae yn hawdd cael y meichnion yma: Ond pe baent yn myned i ymrwymo mewn addewidion ynghylch pethau y byd hwn, hwy a gymmerynt fwy o ofal cyn ymrwymo, pa fodd y gellynt gyflawni eu haddewidion.

Felly, wedi cael ychydig ddwfr, mae yr offeiriad yn myned i weddio ar Dduw, am iddo fanteiddio y dwfr hwnw, mal y golcho ymaith bechod: Yna y dyu pechadurus yn myned i olchi y diniwed oddiwrth ei bechodau. Ond i ba beth y mae hyn yn dda? Nid oes dim profiad, na rhefwm, nag yfgrythyr, ond rhai o draddodiadau meirwon eglwys Rufain, am y fath beth: yna mae yr offeiriad yn galw y bobl yn dyftion, fal ag y mae y plentyn hwnw wedi ei wneuthur yn greadur newydd; ac fal ag y mae wedi cael ei impio y'nghorph eglwys Crift. Felly y mae ef yn diolch i

 Dduw,

Dduw, tros y plentyn, am ei fod wedi ei adgenedlu trwy yr Yfbryd Glân, a'i dderbyn yn blentyn iddo ef ei hun, trwy y mabwyfiad; ac yna y maent yn arddelwi fod y plentyn yr awr hono, wedi ei wneuthur yn aelod i Grift, yn blentyn i Dduw, ac yn etifedd teyrnas nefodd.

Ond y mae hwn yn waith mawr, pe bae ef ond bod mewn gwirionedd yn cael ei wneuthur, lle y byddai angenrhaid am gyfnewidiad, a newydddeb buchedd, ond hyn á ellir ei ganiatâu, fef bod y plentyn o'r blaen yn aelod i Grift, yn blentyn i Dduw ac yn etifedd teyrnas nefodd, ac nad ydyw ef etto ddim gwaeth, na dim lle i'w wneuthur ef yn well.

Ond os na wyr y dynion na'r offeiriad ddim gwell na'r pethau hyn: Yr Arglwydd à oleuo arnynt! Ond yr ydwyfi yn credu, fod llawer o honynt yn gwybod, nad ydyw hyn i gyd, ond defod, ac arfer, a thraddodiad

ddodiad yr eglwys; ac am hyny maent hwy yn barnu, fod yn ddyledfwydd arnynt i'w cyflawni. Ond y mae traddodiadau, a defodau allanol, yn myned yn llygredig wrth eu harfer, fal y dywedoedd yr apostol Paul wrth y Colofliaid: [c] Am hyny os ydych wedi marw gyda Christ, oddiwrth wyddorion y byd, paham yr ydych megys petych yn byw yn y byd, yn ymroi i ofodaethau? Y rhai ydynt yn llygredigaeth wrth eu harfer yn ol gorchymmynion, ac athrawiaeth dynion, yr hyn bethau fydd ganddynt rith doethineb mewn ewyllys-grefydd.

Pa beth gan hyny onid yw y ffordd hon o fedyddio plant bychain, nid yn unig yn llygredig wrth ei harfer, ond wedi ei llunio yn y tywyll, a'i gofod i fyny yn ol gorchymmynion, ac athrawiaethau dynion, a'i chario yn y blaen mewn ewyllys-grefydd yn ol gofodaethau, ac egwyddorion y byd

c Colof. ii. 20, 22, 23.

hwn, ac nid yn ol Crist? Yn awr, gan hyny, a gawn ni ystyried ychydig, pa angenrhaid sydd am ddwfr allanol yn eu Bedydd? Ond y rhai sydd am fedydd Ioan, mae yn rhaid iddynt wrth ddwfr i drochi y bobl ynddo; ond cynnifer ag à ddelo at Grist i gael eu bedyddio ganddo ef, y mae efe yn bedyddio â'r Ysbryd Glân: Canys bedydd Crist ydyw bedydd yr Ysbryd Glân, yr hwn yw y sylwedd, a bydydd Ioan, sef bedydd dwfr, oedd yr arwydd, neu y cysgod o hono.

Ond y mae llawer, yn y dyddiau hyn, à fynant glymu Bedydd Crist, a Bedydd Ioan ynghyd, a'u gwneuthur yn un Bedydd, gan ddywedyd, y dwfr oddiallan, yr hwn ydyw yr arwydd, sydd yn rhan, a'r rhâd ysbrydol oddimewn, ydyw y rhan arall, sydd wedi ei glymu wrtho. Ond dyma ffordd wedi ei llunio yn gyfrwys i dwyllo dynion tywyll, am iechydwriaeth eu heneidiau? Canys mae yn rhaid coelio, ond iddynt dderbyn, neu

gael

gael yr arwydd, eu bod hwy hefyd yn cael y sylwedd, sef bedydd yr Yspryd Glân; er nas gwyddant hwy ddim pa fodd, ond yn unig coelio eu bod wedi eu rhwymo wrth eu gilydd: Felly, mewn gwirionedd, nid ydyw hyn i gyd ond bodloni cnawd, a hunanol ddyben dyn, yr hwn à fyn daeru fod iddo ef ran yn Nghrist, er iddo fyw yn y cnawd, lle nis gellir rhyngu bodd Duw, ac yn y cyfryw fyd, yr hwn ni ddichon dderbyn mo yspryd y gwirionedd.

Ac lle y maent yn dywedyd fod y sylwedd wedi ei glymu wrth yr arwydd; y mae wyneb y byd presennol yn gymylau o dystion yn y gwrthwyneb; pan ydyw bywyd, a buchedd milodd o'r rhai sydd yn addefu Crist, a chwedi eu bedyddio â dwfr yn waeth eu bywyd, a'u buchedd, na'r Tyrciaid, Indiaid, neu Paganiaid; y rhai ni fedyddiwyd â dwfr: Ni à welwn wrth hyny fod yr addefwyr annuwiol ac

anfucheddol,

anfucheddol, heb gael etto mo'u bedyddio i fedydd Crist, yr hwn yw bedydd yr Yſbryd Glân, y ſydd yn glanâu oddiwrth y gweithredodd meirwon, ac yn gwneuthur dyn yn greadur newydd, i fyw buchedd dduwiol. Wrth hyn y mae yn eglur ddigon fod bedydd yr Yſbryd Glân, a bedydd dwfr, yn ddau beth gwahanol.

Felly mae yn boſſibl i'r dyn anianol gael ei fedyddio â dwfr, heb adnabod dim o fedydd yr Yſbryd Glân: Ond fe à eill dilynwyr Criſt, gael eu bedyddio ganddo ef, â bedydd yr Yſbryd Glân, heb ddwfr allanol. Er hyny hwy à ddywedant, mae bedydd Ioan i ganlyn bedydd yr Yſbryd Glán, oblegid yr oedd yr apoſtolion yn bedyddio â dwfr, ac yr oedd Criſt gwedi ei roddi yn orchymmyn iddynt. Bod yr apoſtolion yn bedyddio â dwfr, mae hyny wedi ei ganiatâu; ond i Griſt ei roddi yn orchymmyn

iddynt,

iddynt, mae hyny etto heb ei wneuthur allan; ond y maent yn barod i ddywedyd, oni orchymmynoedd Crist i'w apostolion,[f] "Ewch gan hyny, a dysgwch yr holl genedlodd, gan eu bedyddio hwy, * I ENW Y TAD, A'R MAB A'R YSBRYD GLAN? Ond myfi à dybiwn, yn gymmaint ag nad oes yma ddim son am ddwfr, fod i ni le i ystyried, pa un yr oedd Crist yn ei orchymmyn, ai ei fedydd ei hunan, yr hwn oedd fedydd yr Ysbryd Glàn, yntef ai bedydd Ioan, yr hwn oedd y bedydd dwfr; ac yn gymmaint â bod y pryd hyny yr unig amser, yn mha un yr oedd gweinidogaeth ysbrydol Crist i gael ei gosod i fyny mewn awdurdod, gan ei thynu odditan yr holl gysgodau, ac arwyddion; ac mai gwaith Crist oedd, bedyddio â'r Ysbryd Glân, a'i fod ef y pryd hyny i dywallt o'i Ysbryd Glân ar ei weinidogion, i'w danfon ar ei waith

[f] Matt. xxviii. 19. * *Eis to onoma*, into the name.

ei

ei hunan. Pa resſwm, gan hyny a ddywed i ni, iddo ef oſod ei weiſion ar waith Ioan, yr hwn nid oedd ond cyſgod allanol yn myned heibio, yn lle eu danfon ar ei waith yſbrydol ef ei hunan, wedi iddo eu llenwi â'i Yſbryd, a'u gwiſgo â nerth o'r uchelder, yn gymhwys i wneuthur y gwaith yſbrydol hwnw? Ond efe à ddywed y gwrthreſymwr—

Gwaith Criſt ei hunan oedd bedyddio â'r Yſbryd Glân, ac nis gallai yr apoſtolion wneuthur mo hono; oblegid nid oeddynt hwy ond dynion. Mae yn wir ddigon, mai gwaith Criſt ydyw bedyddio â'r Yſbryd Glân. Beth gan hyny, ai analluadwy oedd i weiſion Criſt wneuthur dim o'i waith ef, er iddynt dderbyn o Yſbryd Criſt, ſef yr Yſbryd Glân, yr hwn oedd yn bedyddio? On ddiammau fod gweiſion Criſt yn gwneuthur ei waith, trwy ei fod ef gyda hwynt yn cyd weithio; canys pryd y byddynt hwy

yn dyſgu, ac yn pregethu, lle y byddai yr Arglwydd gwedi eu danfon; yr oeddynt hwy yn offerynau yn ei law, i wneuthur gwaith mawr, ſef i droi y cenedlodd, o dywyllwch i oleuni, o feddiant Satan at Dduw, trwy ei fod ef yn cydweithio i agoryd calonau dynion; ac i hyn yr oedd Paul wedi ei ddanfon, ac nid i fedyddio â dwfr; megys ag yr ym ni yn darllen, pryd yr oedd yr Arglwydd yn ei droi, ac yn ei alw, efe à ddywedoedd wrtho;[s] Cyfod a ſaf ar dy draed, canys i hyn yr ymddangoſais i ti, i'th oſod ti yn weinidog, ac yn dyſt o'r pethau à welaiſt, ac o'r pethau yr ymddangoſaf i ti ynddynt. Gan dy wared oddiwrth y bobl, a'r cenedlodd, at y rhai yr ydwyf yn dy anfon di yr awron: I agoryd eu llygaid, ac i'w troi o dywyllwch i oleuni, ac o feddiant Satan at Dduw, fel y derbyniont faddeuant pechodau, a chyfran yn

s Act. xxvi. 16.

mysg y rhai à santeiddiwyd, trwy'y ffydd sydd ynof fi. Gwelwn, gan hyny, y gwaith mawr yr oedd Paul wedi ei ddanfon i lafurio ynddo, yr hwn oedd waith iechydwriaeth eneidiau dynion, a'r peth achubol, sef eu troi o dywyllwch i oleuni, o feddiant Satan at Dduw, i gael maddeuant pechodau, a chyfran ymysg y rhai á santeiddiwyd.

Dyma waith yr enedigaeth newydd, sef gwaith Crist ar eneidiau dynion; dyma hefyd fedydd yr Ysbryd Glân: Ac fel yr oedd yr apostol Paul yn offeryn yn llaw yr Arglwydd, wedi ei anfon ar y gwaith yma; felly trwy bregethu y gwir Efengyl yr oedd ef yn cyflawni y gorchymmyn, gan eu bedyddio hwy i enw y Tàd, yr hwn ydyw y'twr cadarn; a'u troi hwy atto ef, yr hwn yw y goleuni; a'u bedyddio i enw y Mâb, yr hwn yw craig yr oesodd, Iesu yr achubwr, Crist yr eneiniog; ffynnon y dyfrodd

byw,

byw, yr hwn ddwfr sydd yn golchi ymaith bechod ac anwiredd, fal y derbyniont faddeuant pechodau, gan eu bedyddio i enw yr Ysbryd Glân, yr hwn sydd yn santeiddio, ac yn rhoddi iddynt ffydd yn Nghrist Iesu. Felly yr oedd Paul yn dysgu y cenedlodd; ac yr oeddynt hwythau yn cael eu bedyddio â'r Ysbryd Glân, tan ei dystiolaeth, felly yr oedd y gorchymmyn yn cael ei gyflawni.

Ewch a dysgwch yr holl genedlodd, gan eu bedyddio hwy i enw y Tâd, a'r Mâb, a'r Ysbryd Glân; ac nid oedd yr apostol yma, yr hwn oedd wedi ei ddanfon i droi y cenedlodd, ddim wedi ei anfon i fedyddio â dwfr, megys ag y tystioedd ef ei hunan, pan weloedd fod y Corinthiaid wedi ymlygru, gan wneuthur camddefnydd o'r bedydd dwfr, a bod cynnenau yn eu pl'th hwy, megys ag y gellir meddwl, fod rhai yn dywedyd, yr wyfi yn eiddo y gwr a'm bedyddioedd

oedd i; a minnau yn eiddo y gwr a'm bedyddioedd innau, yr hyn à roes i'r apoſtol achlyſur i ddywedyd,[h] Yr ydwyf yn diolch i Dduw, na fedyddiais i neb o honoch, ond Criſpus a Gaius; Mal na ddywedo neb, fedyddio o honofi yn fy enw fy hun. Mi à fedyddiais hefyd dylwyth Stephanus; heblaw hyny nis gwn à fedyddiais i neb arall. Canys ni anfonoedd Criſt fi i fedyddio, ond i efangylu. Ac yn gymmaint mai hwn oedd yr apoſtol, oedd wedi ei anfon yn fwyaf pennodol i ddyſgu, ac i droi y cenedlodd; ac nad oedd ef wedi ei anfon i fedyddio â dwfr: A bod y gorchymmyn hwnw yn dywedyd: Ewch a dyſgwch yr holl genedlodd, gan eu bedyddio i enw y Tâd, a'r Mâb, a'r Yſbryd Glân. Gan hyny, nid dwfr allanol, oedd yma yn y gorchymmyn, i fyned ynghyd gydâ thyſtiolaethau yr Apoſtolion, ond

[h] 1 Cor. i. 14.

ond dwfr bywiol, a'r gair tragywyddol, yr hwn ydyw cleddyf yr Yſbryd, y ſydd fel tân, a gordd i ddryllio y calonau caledion.

Felly, bywyd a rhinwedd oedd yn canlyn eu pregethau hwynt; gan hyny pa un bynag ai trwy offerynau, ai heb offerynau y byddo Duw yn gweithio ar galonau dynion, gwaith yr Arglwydd ydyw; a'r cyfryw rai ag ſydd yn adnabod ei waith ef yn cael ei gario yn y blaen yn eu heneidiau eu hunain, nid yw y rhai hyn gweled mo'r angenrhaid am yr arwyddion, a'r cyſgodau, y rhai oedd i fyned heibio; neu y maent yn myned yn llygredig wrth eu harfer; felly gwaith Duw ar galon dyn, ydyw bedydd yr Yſbryd Glân, yr hwn ſydd yn gwneuthur dyn yn wir griſtion.

## Y CHWECHED BENNOD.

*O Berthynas y Cymmun, neu Ymborth yr Enaid.*

YN gymmaint mai gwaith Duw, ar eneidiau dynion, ydyw gwaith yr enedigaeth newydd, ac y mae yn perthyn i bob genedigaeth gael ymborth cyfattebol i'w chyflwr, a'i naturiaeth; felly mae yn perthyn i blant yr enedigaeth newydd, y rhai sydd yn cael eu geni o'r ysbryd, gael ymborth ysbrydol i borthi eu heneidiau: Fel ag y mae y corph allanol, yn cael ei borthi ag ymborth allanol. Yr ymborth ysbrydol yma, nis geill plant Adda yn y cwymp mo'i adnabod, na'i amgyffred, na bod yn gyfranogion o hono, nes i'r Arglwydd, mewn rhyw fesur, gymmeryd gafel ar eu calonau, a'u goleuo, a dangos iddynt eu cyflyrau, a'u gwneuthur yn deimladwy o

raid,

raid; a diffyg eu heneidiau; a gadel i'r dyn weled, fel y mae ef wedi myned oddi cartref, megys y mâb afradlon i'r wlad bell, yn ddieithr i dy ei dâd, lle mae bara ddigon, ac yntau yn barod i farw o newyn: Yna yr enaid truan, wedi cael golwg ar ei gyflwr, mae ef yn crio am dy ei dâd, canys mae ef wedi cael crediniaeth, fod yno fara ddigon, i borthi ei enaid newynog ef, rhag iddo farw yn dragywydd.

Felly, yr enaid fydd yn dyfod yn newynog, ac yn fychedig am gyfiawnder; mae addewid i'r cyfryw un o gael ei ddiwallu:[i] Canys mae yr Arglwydd yn parotoi danteithion hyfryd, i'r tylawd o yfbryd, yr hwn à ddychwelo atto ef a'i holl galon, ac à ddyfgwylio wrtho mewn gwirionedd. Yna, pan ddel dyn i adnabod y pethau hyn, mae hwn, mewn rhyw fefur, i gael ei gyfrif yn blentyn yr

[i] Math. v. 6.

enedigaeth newydd; canys mae ef yn crio am ymborth; ac y mae ymborth yn perthyn iddo: Ac mae efe yn barod i agoryd i Grist, yr hwn sydd yn curo wrth y drws, ac yn dywedyd, Os clyw neb fy llais, ac agoryd y drws, mi á ddeuaf i mewn atto, ac á swperaf gydag ef, ac yntau gyda minnau; felly mae Crist yn barod i gyfranu, a'r enaid newynog yn barod i dderbyn lluniaeth: A dyma y swper sydd yn rhoddi bywyd, maeth, a chynnydd i eneidiau plant yr enedigaeth newydd.

Gan hyny pa fath bynag o swperau à wnelo dynion, heb agoryd i Grist, a'i dderbyn ef i'w calonau, i swperu gyda hwynt: Nid yw eu swper hwy ddim swper i Grist, na dim budd i'w heneidiau hwythau: [k] Canys efe ydyw bara y bywyd, yr hwn sydd yn dyfod i waered o'r nef, ac yn rhoddi bywyd i'r byd. Dyma yr ymborth y mae

[k] Ioan vi.

Duw yn ei gyfranu i'w blant, y rhai sydd wedi eu geni, o'r anfarwol hâd, drwy ei air ef, a derbyn yr Ysbryd Glân, i'w tywys i bob gwirionedd, yr hwn sydd yn diddanu, ac yn cysuro, ac yn rhoddi maeth, a chynnydd i'r eneidiau cystuddiedig, a dychweledig: Gan hyny y rhai sydd wedi agoryd eu calonau, a derbyn Crist i mewn, i gymmeryd meddiant, ac i lywodraethu ynddynt mewn awdurdod, mae y cyfryw rai yn cael eu himpio yn y winwydden, a'u heneidiau yn cael eu porthi o ffrwyth y winwydden, yr hwn ydyw yr un peth â bara y bywyd, sydd yn dyfod i waered o'r nef, fel y byddo i'r hwn à fwytao o hono fyw yn dragywydd.[1] Ffrwyth y winwydden yma hefyd ydyw y gwin ysbrydol, a'r dwfr bywiol, neu y gwaed nefol, yr hwn y mae y canghenau yn cael yfed o hono, fel y byddo i'r enedigaeth ysbrydol brifio a

[1] Ioan vi. 51.

chynnyddu,

chynnyddu, drwy fod yn cael ymborthi ar Grist, ac aros ynddo, yr hwn a ddywedoedd.[a] Fy nghnawd i sydd fwyd yn wir; a'm gwaed sydd ddiod yn wir: Yr hwn sydd yn bwyta fy nghnawd, ac yn yfed fy ngwaed, sydd yn aros ynofi, a minnau ynddo yntau. Gwelwn yma y rhai sydd yn cael ymborthi ar Grist, maent hwy yn aros ynddo ef, ac yntau ynddynt hwy, nid yn ei gorph, ond yn ei ysbryd, a'i ysbryd ef ynddynt hwythau, ac yn ysbrydol y mae yr undeb a'r cymmundeb rhwng Crist a'i ddilynwyr, i maes o'r pethau allanol, fel y dywedoedd efe wrth ei ddisgyblion, y rhai oedd wedi ymrwystro wrth glywed pethau ysbrydol; ond efe a'u dehongloedd iddynt: Yr ysbryd yw yr hwn sydd yn bywâu;[a] y cnawd nid yw yn llesâu dim; y geiriau yr ydwyfi yn eu llefaru wrthych, ysbryd ydynt, a bywyd ydynt. Felly y rhai sydd yn aros yn y win-

[a] Ioan vi. 56. [a] Ioan vi. 63, 57.

wydden,

wydden, mae ffrwyth, a rhinwedd y winwydden, yn fywyd, ac yn gynnaliaeth iddynt; fel y dywedoedd efe hefyd, Fel yr anfonoedd y Tâd byw fi, ac yr ydwyfi yn byw drwy y Tâd; felly yr hwn fydd yn fy mwyta i, yntau á fydd byw trwofi.

Ac fel ag y mae y rhan ddaiarol yn ymborthi ar ymborth daiarol, allanol, a darfodedig; felly y mae y rhan ysbrydol, yn ymborthi ar ymborth ysbrydol, sef y manna cuddiedig, anweledig, a thragywyddol: Ac fe á wyr y cyfryw rai ag fydd yn ymborthi arno, pa le y maent yn ei gael, nad mewn dim allanol, ond yn yr ysbrydol gymdeithas, gyda'r Tâd, a chyda'r Mâb Iesu Grist, trwy adnabod eu hachubwr yn fugail iddynt, i'w harwain i'r porfeydd breifion, ger llaw y dyfrodd tawel, allan o'r byd ynddynt eu hunain, ac o bob rhesymau cnawdol, a dychymygion cig a gwaed: Mae ef hefyd yn fara beunyddiol, yr

hwn ſydd yn gynnaliaeth i'r gwir Griſtion; ac nis geill yr enaid byw mo'r bod un diwrnod hebddo, na byddo ef yn teimlo newyn, ac nid yw ddigon ganddo gael bara a gwin allanol unwaith yn y flwyddyn, yn lle bywyd ei enaid, a'r ymborth yſbrydol, yr hwn ſydd yn dyfod i waered o'r nef, bob dydd yn ei ddydd, i'r eneidiau newynog, a ſychedig, y rhai ſydd yn dyſgwyl wrtho ef.

Felly y mae y tylawd o yſbryd, yn ei dderbyn yn y dirgel, pryd na byddo ond efe a'r Arglwydd. Ond y rhai ſydd yn gwario eu harian am yr hyn nid yw fara, a'i llafur am yr hyn nid yw yn digoni; maent hwy yn dyfod at yr offeiriad i fwyta pob un damaid o fara darfodedig, a phob un lymaid o win: Ac y mae eu gwyddorion yn eu rhwymo i gredu, eu bod yn cael, wrth gymmeryd hyny, ymborth i'w heneidiau, er nas gwyddant ddim pa fodd.

O! mor

O! mor hawdd ydyw gan ddynion gymmeryd eu twyllo am fywyd tragywyddol eu heneidiau, yr hyn ydyw adnabod y Tâd a'r Mâb yn preſwylio yn y galon, a chwedi ennill y dyn i garu Duw, fel y byddo yn fwyd, ac yn ddiod iddo, wneuthur ei ewyllys; canys gwneuthur ewyllys Duw, ydyw yr unig beth ſydd yn cyflawni yr heddwch, ac yn gweithio undeb, a chymmundeb rhwng y gwir griſtion, a Chriſt, anwylyd ei enaid; ac yno y rhai á gyſylltir â'r Arglwydd, un yſbryd ydynt; a dyma y cymmun ſydd yn gwneuthur y Saint° yn un bara, ac yn un corph, drwy fod yn gyfrangogion o'r un bara; yr hyn nid yw bwyta bara a gwin yn gallu mo'i wneuthur, canys mae y dynion yn ei fwyta cyn myned i dywallt gwaed eu gilydd.

Felly hefyd llawer à fu o ymryſon, ac o ymbleidio, yr hyn oedd yn tòri

° 1 Cor. x. 17.

allan

allan yn llid, ac yn ymddial, rhy-felodd, a thywallt gwaed, ymhlith addefwyr crêd, ynghylch y bara a'r gwin, pa fodd i'w drefnu, a pha bryd i'w gymmeryd.

Dyma ddichell Satan, fef gyru dyn-ion i ladd eu gilydd ynghylch traddod-iad marw; canys drwy hyny yr oedd ef yn eu tynu bellach bellach oddi-wrth Dduw, i'w deyrnas dywyll ef ei hunan; fwyfwy dieithrach i'r bywyd, ac i'r fylwedd, fef y bara[p] o'r nefodd, yr hwn fydd yn rhoddi bywyd i'r byd. Ond y gwyr doethion yn ymlid tyb-iadau ynghylch y pethau meirwon, ac heb allu byth mo'r cyduno; ac oble-gid eu bod yn ddieithraid i'r yfbryd a'r bywyd nefol, yr oeddynt yn bar-nu, fod yn rhaid iddynt, wrth gym-meryd y bara a'r gwin, gael bwyta cnawd Crift yn gorphorol, yr hwn oedd wedi ei eni o Fair, a goddef ar y groes, a'i adgyfodi, a'i dderchafu

[p] Ioan vi. 33.

i'r

i'r nefodd, i eistedd ar ddeheulaw y mawredd.

Ond gan hyny hwy a dorasant allan i dair o wyddorion, y cyntaf ydyw un y Papyddiaid,* yr hwn sydd yn dywedyd am y bara a'r gwin, ar ol i'r offeiriad ei gyssegru (fel y galwant) nad yw efe ddim mwy yn fara nag yn win, ond corph a gwaed Crist, yn y sylwedd yr hwn a groeshoeliwyd gan yr Iuddewon. Dyma gyfeiliornedd blin! Dynion yn cymmeryd arnynt wneuthur Crist, yn gorphorol ar y ddaiar, o ddefnydd llygredig, a'i roddi i'r bobl i'w fwyta am eu harian!

Yr ail wyddor yw un y Lutheriaid, y rhai a ddywedant fod sylwedd y bara yn aros wedi ei gyssegru, ond bod yn y bara, a chyd ag ef, neu dano, y corph hwnw hefyd; felly fod yno sylwedd y bara, a chnawd a gwaed Crist, wedi eu cymmysgu yngnghyd, i'w ddodi i'r bobl i'w fwyta am

* R. B. 498.

eu harian. Y rhagoriaeth sydd yma ydyw, mae y rhai cyntaf yn cymmeryd arnynt wneuthur Crist yn gorphorol ar y ddaiar, o fara ac o win darfodedig. Mae y lleill yn cymmeryd arnynt, ddyfod ag ef i lawr o'r nef i'w gymmysgu â'r bara a'r gwin.

Y drydedd wyddor, sef un y Calfinyddion, sydd yn gwadu y ddwy gyntaf, gan ddywedyd, nad yw Crist yn gorphorol yn y bara a'r gwin ;* ond er hyny fod y ffyddloniaid yn ei dderbyn ef, wrth gymmeryd y bara a'r gwin. Ond pa fodd, neu pa ffordd y mae efe yno nis gwyddant hwy ddim, ac nis medrant ddywedyd, ond yn unig rhaid i ni gredu ei fod ef yno. Ond mewn gwirionedd, er bod yr wyddor yma, mewn rhai pethau, yn haws ei chyd-ddwyn ; etto mae yn ansefydlog iawn : Nid oes dim, ond rhaid i ni gredu.

* Yet so that it is only properly in heaven, R.B.p.498.

Ac os rhaid i ni gredu fod ein heneidiau ni yn cael ymborthi ar fara y bywyd, a'n bod ni yn gyfranogion o fwper Crift, er na byddom ni ddim yn ei adnabod ef gwedi dyfod i mewn i'n calonau, i fwperu gyda nyni, a ninnau yn cael fwperu gydag yntau? Dyma y ffordd i ni ein twyllo ein hunain yn dragywydd. Dyma hefyd arwydd marwolaeth; canys fe á wyr yr eneidiau byw (fel Dafydd) pa bryd y byddont yn cael gorfoledd eu hiechydwriaeth; a'r pryd y byddo yr Arglwydd, a'i hael Yfbryd yn eu cynnal, a'u heneidiau hwy yn cael eu diddanu gan yr Yfbryd Glân: A hwy á allant roddi at eu bryd eiriau yr apoftol,[q] Fy mrodyr anwyl, na chyfeiliornwch. Pob rhoddiad daionus, a phob rhodd gywir oddi uchod y mae, yn difgyn oddiwrth Dâd y goleuni, gyda'r hwn nid oes gyfnewidiad, na chyfgod troedigaeth. Ond

[q] Iago. i. 16, 17.

yn y nôs o dywyllwch, yr hon à weithioedd Satan ymhlith addefwyr Crêd, ei waith ef, a'i ddichell ydyw ac à fu twyllo dynion, a'u gosod hwy ar waith, i dwyllo y naill y llall, i'r dyben a'r amcan i'w cadw hwynt yn anghydnabyddus, ac yn llwyr ddieithraid i'r gwir fugail, yr hwn sydd yn rhoddi bywyd tragywyddol i'w ddefaid ei hun, y rhai sydd yn ei adnabod ef, ac yn ei ddilyn.

Pryd yr oedd efe gyda ei ddisgyblion yn bwyta y swper hwnw, neu y pasc diweddaf cyn ei fradychu,[r] efe á ddywedoedd wrthynt, Mi á chwennychais yn fawr fwyta y pasg hwn gyda chwi, cyn dyoddef o honof. Canys yr ydwyfi yn dywedyd i chwi, Ni fwytaf fi mwyach o hono, hyd oni chyflawner yn nheyrnas Duw. Cyflawniad y pasc hwnw, a'r peth yr oedd ef yn ei arwyddo, ynghyd ag arwyddion ereill, oedd dyfodiad teyrn-

[r] Luc. xxii. 15.

as Duw; ſef Duw i breſwylio yn ei bobl, i'w dyſgu hwynt ei hunan, i'w porthi hwynt ei hunan; canys mae teyrnas Duw oddimewn, a Chriſt oddimewn yn ddiddanydd, yn ſwperu ac yn porthi eneidiau plant yr enedigaeth newydd. [s] A gwedi iddo gymmeryd y gwpan, a rhoddi diolch, efe á ddywedoedd, Cymmerwch hwn, a rhenwch yn eich plith; canys yr ydwyf yn dywedyd i chwi, nad yfaf o ffrwyth y winwydden hyd oni ddel teyrnas Duw. [t] Ac nid yw teyrnas Duw fwyd a diod, ond cyfiawnder, a thangnefedd, a llawenydd yn yr Yſbryd Glân. [u] Ac wedi iddo gymmeryd bara a rhoi diolch, efe a'i toroedd, ac ai rhoddes iddynt, gan ddywedyd, Hwn yw fy nghorph, yr hwn yr ydys yn ei roddi troſoch: Gwnewch hyn er coffa am danaf.

Yr oedd Criſt wrth wneuthur hyny

[s] Luc. xxii. 17, 18. [t] Rhuf. xiv. 17.
[u] Luc. xxii. 19.

yn dangos i'w ddiſgyblion, ei fod ef yn myned i roddi ei gorph i oddef troſtynt; a bod iddynt hwythau, pryd y byddent yn bwyta ac yfed, gofio am dano ef. Ac mae yr apoſtol Paul yn dywedyd ymhellach, Gwnewch hyn, cynnifer gwaith bynag ag y gwneloch, er coffa am danaf.

Canys cynnifer gwaith bynag y bwytâoch y bara hwn, ac yr yfoch o'r gwpan hon, y dangoſwch farwolaeth yr Arglwydd oni ddelo. Felly y cwbl à ellir ei gaſglu oddiwrth y pethau hyn, pryd y byddai i'r diſgyblion fyned ynghyd i dòri bara, yr oeddynt i feddwl, ac i gofio am Griſt, a'i farwolaeth, a'i ymadawiad oddiwrthynt y nôs hòno, a hyny mewn parch i'w enw ef, hyd oni ddeuai teyrnas Duw i gael ei helaethu yn eu calonau, a'r brenin i eiſtedd yn ei deyrnas mewn modd yſbrydol, i ſwpera, ac i'w roddi ei hunan yn fywyd, ac yn ymborth i'w heneidiau hwy.

Yr ym ni yn darllen hefyd am yr apoſtolion, eu bod hwy yn parâu yn gyttun yn y deml, ac yn tori bara o dy i dy, gan gymmeryd eu lluniaeth mewn llawenydd a ſymledd calon. Ac yr oeddynt hwy yn bwyta mewn ffordd grefyddol, gan gydbarotoi, a dyſod ynghyd i fwyta: A hyn oedd yn arwyddo eu hundeb, a'u cariad tuag at eu gilydd. Yr oeddynt hwy hefyd yn bwyta i gyflawn angenrheidiau eu cyrph.

Beth, gan hyny, onid oedd yr apoſtolion, pryd y deuent hwy ynghyd yn y cariad, ac yn yr undeb, yn cael yr Arglwydd yn agos attynt i'w cyſuro, ac i'w diddanu, ac i adeiladu eu heneidiau? Ond nid yn y bwyd yr oeddynt hwy yn cael yr Arglwydd, ond yn eu neſàad hwy yn eu hyſbrydodd at ei Yſbryd ef, ac at eu gilydd yn ei gariad ef.

Y ffordd hon o draddodiad á lygroedd yn fuan wrth ei harfer gan

ddynion, megys ag y gwelir yn Eglwys y Corinthiaid,[w] mae yr apostol yn cwyno yn eu herbyn, pan fyddent hwy yn dyfod ynghyd i fwyta y swper hwnw, yr oeddynt hwy yn ei alw yn swper yr Arglwydd; ac yn lle ei gyflawni i'r Arglwydd, mewn modd cymmeradwy, eu bod mewn perygl o fwyta ac yfed barnedigaeth iddynt eu hunain.

Felly yr oedd y rhai hyny oedd yn cyfarfod ynghyd er gwaeth, heb gyrhaedd, mo'r adnabyddiaeth o'r ymborth ysbrydol, ac anweledig, yr hwn sydd yn dyfod o'r nef, i adnewyddu, ac i ddiddanu eneidiau y Saint yn eu cynnulliadau; nid oeddynt ychwaith yn cyflawni mo'r swper hwnw oddiallan, ond mewn modd llygredig, fel ag yr oedd llygredd yn dyfod i mewn i'r eglwysi, yr oedd y bobl yn myned fwyfwy am y traddodiadau allanol, gan eu gwneuthur fwyfwy llygredig,

w 1 Cor. xi. 17.

gan eu gosod i fyny yn lle y sylwedd, ac yn lle teyrnas Duw, dyfodiad pa un oedd i roi diwedd arnynt.

# Y SEITHFED BENNOD.

## *O Berthynas Gwrthodiad.*

TRUGAREDD y Duw hollalluog oedd, ac sydd, mewn mesur mawr a helaeth, tuag at blant dynion, gan ddanfon ei genadon i gynnyg iddynt ammodau heddwch, er eu bod beunydd yn gwrthryfela yn ei erbyn, a'r genadwri yr hon à roddes ef y'ngenau ei brophwyd oedd, [x] Fel mai byw fi, medd yr Arglwydd Dduw, nid ymhoffaf yn marwolaeth yr annuwiol, onid troi o'r annuwiol oddiwrth ei ffordd a byw: Dychwelwch, dychwelwch oddiwrth eich ffyrdd drygionus; [y] Canys (ty Israel) paham y byddwch feirw? O herwydd felly y caroedd Duw y byd, fel y rhoddes efe ei unig-anedig Fâb, fel na choller pwy bynag à gredo ynddo ef, onid

[x] Ezec. xxxiii. 11. [y] Ioan iii. 16, 17.

caffael

caffael o hono fywyd tragywyddol. Oblegid ni ddanfonoedd Duw ei Fâb i'r byd, i golledu y byd, ond fel yr achubid y byd trwyddo ef.

Felly yr oedd yr apostolion gwedi derbyn gweinidogaeth y cymmod, gan dystio, [z] Fod Duw yn Grist yn cymmodi y byd ag ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau; ag wedi gosod ynom ni air y cymmod. Am hyny yr ydym ni yn genadau tros Grist, megys pe byddai Duw yn deisyf arnoch trwyddom ni; yr ydym yn erfyn tros Grist, cymmoder chwi â Duw. Ond yn y gwrthwyneb i'r pethau hyn, mae rhai yn dal allan, fod Duw wedi darparu y rhan fwyaf o ddynol-ryw i golledigaeth; a'r rhan arall i gadwedigaeth, a hyny er y dechreuad, neu cyn dechreu y greëdigaeth; felly nad oes dim galledigaeth i'r un o'r rhai cadwedig gael byth eu colli; nac

[z] Cor. v. 18, 19, 20.

i'r

i'r un o'r rhai colledig gael byth mo'u cadw.

Pe byddai hyn yn wir, fe fyddai yn dadymchwel yr holl addewidion, a'r ammodau heddwch, y rhai y mae Duw gwedi danfon ei genadon i'w cyhoeddi, drwy yr holl ysgrythyrau; ac yn gwadu y cymmod, y hwn y mae Duw yn ei gynnyg i'r byd, trwy Grist.

Mae hyn yn dywedyd hefyd, na ddanfonoedd Duw ei Fâb i'r byd, i achub y byd, ond i'w golledu; mae hyn hefyd yn gwneuthur Duw yn annhrugarog, yr hwn y mae ei drugareddau yn rhagori ar ei holl weithredodd; os darfu iddo ef ddarparu y rhan fwyaf o ddynion i golledigaeth, heb drefnu iddynt yr un ddawn, na dim rhâd, na dydd ymweliad, ond eu darparu i bechu, ac i weithredu pob drygioni, fel y byddai iddo ef eu cospi hwynt yn dragywydd, am wneuthur y peth yr oedd efe gwedi ei ddarparu

iddynt

iddynt hwy i'w wneuthur: Wrth hyn nid oes le i drugarâu wrth y rhan fwyaf o ddynol-ryw. Mae hyn yn wrthwynebol i'r holl addewidion, a'r gwahoddion, a'r cynghorion, y rhai y mae yr y ſgrythyr yn llawn o honynt, o'r dechreu hyd y diwedd; gan alw dynion i droi, ac i ddychwelyd at Dduw, oddiwrth eu ffyrdd annuwiol, a hyny ar ammodau diau, fod drws gwedi ei agor iddynt, yn Nghriſt, eu prynwr, yr hwn à fu farw dros bawb. Ond hwynt hwy á ddywedant, na bu Criſt farw, ond tros yr etholedigion, ſef yr ychydig hyny oedd gwedi eu darparu yn gadwedig o'r dechreuad.

Mae hyn yn y gwrthwyneb i'r yſgrythyrau ſydd yn dywedyd, fod Criſt gwedi marw dros bob dyn, megys ag y gwelir; * ſef bod Duw yn ewyllyſio pob dyn yn gadwedig, a'u dyfod i wybodaeth y gwirionedd,

* 1 Tim. ii. 4, 5, 6, 7.

canys un Duw ſydd, ac un Cyfryngwr hefyd rhwng Duw a dynion, y dyn Criſt Ieſu: Yr hwn á roddes ei hunan yn bridwerth dros bawb, i'w dyſtiolaethu yn yr amſerodd priodol. I'r hwn, ebai Paul, i'm goſodwyd i yn bregethwr, ac yn apoſtol. [b] Felly mae yr un apoſtol yn dywedyd, fod Criſt gwedi marw tros bawb: Fe á brofoedd farwolaeth tros bob dyn: Efe yw yr iawn tros ein pechodau ni: Ac nid tros yr eiddom ni yn unig, eithr tros bechodau yr holl fyd. Felly efe á gyhoeddoedd yr Angel i'r bugeiliaid, ddyfodiad Criſt: Yn newyddion da o lawenydd mawr i'r holl bobl: Ac yr oedd lliaws o lu nefol yn canu gogoniant i Dduw yn yr uchelder, ac ar y ddaiar tangnefedd, ac ewyllys da i ddynion.

Ac mewn gwirionedd, mae fy nalenau hyn yn rhy fyr i gynnwys, ond

[b] 2 Cor. v. 15. Heb. ii. 9. 1 Ioan ii. 2. Luc. ii. 10. 13.

ychydig

ychydig o lawer o'r cymhellion, a'r gwahoddion y mae Duw yn eu cynnyg i bechaduriaid: 'Dowch attafi bawb y sydd yn flinderog, ac yn llwythog; a mi á esmwythaf arnoch. Dyma y genadwri yr oedd, ac y mae Duw yn mhob oes yn danfon ei weinidogion arni, i alw pechaduriaid i gymmodi ag ef drwy Grist, yr hwn yw y goleuni, yr hwn à oleuoedd bob dyn à ddaeth i'r byd, ac á brofoedd farwolaeth dros bob dyn: Ac ef á roddwyd yn oleuni i'r cenedlodd, ac yn iechydwriaeth hyd eithafodd y ddaiar.

Dyma ddrws iechydwriaeth, gwedi ei agoryd i holl ddynol-ryw, y rhai à ofynant, ac á geisiant, ac á gurant, hwy á gant ddyfod i mewn, a'u derbyn gyda llawenydd. Hefyd mae rhâd Duw, yr hwn sydd yn dwyn yr iechydwriaeth, gwedi ymddangos i bob dyn.

* Matth. xi. 28.

Wrth y pethau hyny, gallwn gredu fod dydd ymweliad oddiwrth Dduw, drwy y rhâd, a'r goleuni, gwedi ei drefnu i bob dyn ar wyneb yr holl ddaiar; Canys nid oes un dyn can belled, yn un cwr i'r byd, nad yw Duw yn agos atto ef, os bydd iddo ei geisio. Pa le hefyd y mae yr un pechadur nas adnabu ar amseroedd argyhoeddiad oddiwrth y goleuni yn ei galon, a'i gydwybod, yn galw am edifeirwch, a gwellâad buchedd, gan addo heddwch iddo, os gwna ef ddaioni; hefyd gan ei fygwth â rhyw gospedigaeth am ei ddrygioni.

Felly yr hyd y byddo y goleuni yn tywynu, a'r rhâd yn ymddangos, a Duw drwy ei yspryd yn ymryson â'r pechadur, fe ddichon iddo gael ei achub, a hyny gan yr Arglwydd, a thrwy ei fawr drugaredd ef; canys mae y rhâd, a'r goleuni, yn llwyr ddigonol i achub, ac i waredu pob dyn à roddo ufydddod iddo, pa wy-

bodaeth

bodaeth bynag oddiallan y mae ef yn fyr o hono; mae y rhâd, yr hwn fydd yn dwyn yr iechydwriaeth, yn dyfgu i'r dyn ei holl ddyledfwyddau: [d]Canys trwy râd yr ydych yn gadwedig. Hefyd mae y goleuni, yr hwn à oleuoedd bob dyn à ddaeth i'r byd (yr hwn ydyw Crift, fel y dywedoedd ef ei hunan, Goleuni y byd ydwyfi; yr hwn a'm dilyno ni rodia mewn tywyllwch, eithr efe á gaiff oleuni y bywyd) yn llwyr ddigonol ni arwain i iechydwriaeth, bob un à wrandawo arno tra y byddo ef yn curo; a'r rhai à ddychwelant wrth ei gerydd, mae ef yn addo rhoddi o'i yfbryd iddynt, ac hyfbyfu ei eiriau iddynt. Ond y rhai fydd yn gwrthod yr ymweliadau yma, mae yr Arglwydd yn eu gadel, ac y mae eu gwaed hwy ar eu pènau eu hunain. [e] Hefyd, yn gymmaint ag i mi eich gwahoddi, ac i chwithau

[d] Tit. ii. 12. Eph. ii. 8. Ioan viii. 12.
[e] Diar. i. 23, 24.

wrthod, i mi estyn fy llaw, a neb heb ystyried: Am hyny mae Duw yn rhoddi pechaduriaid i fyny i gymmeryd eu ffyrdd eu hunain; yna y mae dydd eu hymweliad yn myned tros eu pènau, a'r Arglwydd yn eu gadel. Am hyny nid oes neb a'u gweryd hwynt yn nydd cyfyngder.

Mae hyn yn gyfatrebol â geiriau yr apostol Paul, yn y lle y mae y rhai hyny yn ceisio craffu rhyw beth i ddadleu dros wrthodedigaeth. [f] Beth os Duw, yn ewyllysio dangos ei ddigofaint, a pheri adnabod ei allu, a oddefoedd, drwy hirymaros, lestri digofaint, wedi eu cymhwyso i golledigaeth? Mae y gair hirymaros, yn arwyddo fod iddynt ddydd ymweliad, ond iddynt hwy wrthod: Am hyny yr oedd Crist yn wylo tros Gaersalem, gan ddywedyd, ei bod hi i'w dinistrio, a'i gwneuthur yn gydwastad â'r llawr: [g] O herwydd nad

[f] Rhuf. ix. 22. [g] Luc. xix. 44.

adnabuost amser dy ymweliad. Felly colledigaeth dyn sydd o hono ef ei hun, a'i iechydwriaeth sydd o'r Arglwydd: Yn Nghrist y mae yr etholedigaeth yn sefyll; a'r cyfryw rai à gaffo eu himpio yn y winwydden, ac à orchfygo y byd, a Satan, a'i brofedigaethau, hwy á gant fwyta o'r mànna cuddiedig; a rhoddir iddynt gareg wen, ac ar y gareg henw newydd wedi ei ysgrifenu, yr hwn nid edwyn neb, ond y sydd yn ei dderbyn: [h] Dyma yr argraff nefol, ac enwau yr etholedigion, y sydd yn ysgrifenedig yn llyfyr ywyd yr Oen. [i] Ond rhyfygus ydyw dynion, a hunanol? Nid oes dim à gymmer fwy o afael arnynt, na'r peth y byddont gwedi ei dderbyn oddiwrth eu heglwys eu hunain, drwy draddodiad, bydded mor gyfeiliornus ag y mynó, hwy á fynant ei fod ef yn wirionedd efangylaidd, dyweded Duw, a Christ, a'r

[h] Dat. xxi. 27. [i] Dat. ii. 17.

ysgrythyr, y peth à fynont; ond y peth à ddywedo yr eglwyswyr, a'r gynnulleidfa y byddo y dyn yn ei berchi, á fyn efe ei gredu, a'i ddilyn; a chyfrif yn gyfeiliornedd yn mhawb ereill, oni chredent yr un pethau, megys ag y gwelir mewn amryw o wyddorion ceimion, y rhai à ddaeth i mewn i blith Cristionogion yn y nôs o dywyllwch, pryd yr aeth yr eglwys i'r anialwch, a'r gau eglwys (sef y Putain, Babilon) i eistedd ar y boblodd.

Felly, yn yr achos hyn, mae Duw yn dywedyd, [k] Nid ymhoffaf yn marwolaeth yr annuwiol: Ac nid oes ewyllys genyf i farwolaeth y marw: Ond y rhai hyn á ddywedant, fod Duw gwedi mynu, a darparu y rhan fwyaf o ddynol-ryw, i bechu, ac i farw yn dragywydd. Mae Duw yn galw yr annuwiolion, gan ddywedyd, Dychwelwch, dychwelwch, paham y

[k] Exek. xviii. 32. Pen. xxxiii 11.

byddwch

byddwch feirw? Dychwelwch gan hyny, a byddwch fyw. Maent hwythau yn dywedyd, Fod Duw yn dal yr annuwiolion dan ei ddarpariad o wrthodiad, nas gallant lai na phechu i'w colledigaeth.

Mae yr apostol yn dywedyd, fod Duw yn ewyllysio pob dyn yn gadwedig, a'i ddyfod i wybodaeth y gwirionedd. Ond hwy á ddywedant, Duw á ewyllysioedd, fe á fynoedd, ac á wnaeth y rhan fwyaf i golledigaeth; a'i fod ef yn cadw oddiwrthynt bob gwir wybodaeth, a phob moddion iechydwriaeth, fel nas gallant gael dim gafael arnynt.

Pe bawn yn myned yn y blaen yn y modd hwn, mi á allwn gasglu rhan fawr o'r ysgrythyrau, i ddangos mor wrthwynebol ydyw yr athrawiaeth yma yn erbyn Duw, yn erbyn ei drugareddau, a'i gariad, a'i ewyllys da tuag at holl ddynol-ryw: Hefyd mae hyn yn erbyn Crist, gan wneuthur

thur ei ddyfodiad, a'i farwolaeth, a'i brynedigaeth yn ddifudd i'r rhan fwyaf o ddynion, ond yn hytrach i chwanegu at eu barnedigaeth: Mae hyn yn gwadu y cymmod y mae Duw yn ei gynnyg i'r byd drwy Grist; mae yn gwadu yr Efengyl, yr hyn yw y newyddion da o lawenydd mawr i'r holl bobl; mae yn bodloni dynion, na wiw gofyn, na wiw ceisio, na wiw curo, yn groes i eiriau Crist, pryd yr oedd efe yn pregethu i'r torfeydd. [1] Mae y rhai hyn yn dywedyd hefyd, nas geill pechod mo'r bod yn foddion i golli yr un o'r rhai sydd gwedi eu hethol; ac nas geill y rhai gwrthodedig wneuthur dim à fyddo yn foddion at eu hachub: Wrth hyn ni wiw i ddyn son am grefydd. O! mor groes ydyw hyn i eiriau yr Arglwydd trwy ei Brophwyd, yn y bennod à nodwyd o'r blaen o'i dechreu hyd ei diwedd.

[1] Mat. vii. 7, 8.

Wele,

Wele, yr holl eneidiau, eiddo fi ydynt: Yr enaid à becho, hwnw á fydd marw, [m] Cyfiawnder y cyfiawn á fydd arno ef; a drygioni y drygionus á fydd arno yntau. Gwelwn o'r 20 adnod hyd ddiwedd y bennod, yn gymhwys i'r unramcan, ac hefyd yn y bennod, xxxiii. 11, 12, 13, 14, 15, 16, 18, 19, lle y mae yn dangos yn eglur, mai pechod fydd yn gwahanu rhwng dynion a'u gwneuthurwr; ac mai eu dychweliad hwy atto ef fydd yn gwneuthur eu cymmod. Credwn gany hyny y dichon dyn annuwiol, trwy drugaredd, ddychwelyd at yr Arglwydd, tra byddo ef yn galw, yn gwahoddi, ac yn cymhell, yn estyn ei law, ac yn curo wrth ddrws y galon.

Dyma yr ammod à roddwyd i Cain, yn toreu o'r greêdigaeth: [n] Os da y gwnai, oni chai oruchafiaeth? Ac oni wnai yn ddá, pechod á orwedd wrth y drws. Yr ammodau yma fydd yn

[m] Ezek. xviii. 4. [n] Gen. iv. 7.

canlyn

canlyn trwy yr ysgrythyrau o'u dechreu hyd eu diwedd. * Mae yr ysbryd, a'r briodasferch yn dywedyd, Dyred: A'r hwn sydd yn clywed, dyweded, Dyred: A'r hwn sydd â syched arno deued; a'r hwn sydd yn ewyllysio, cymmered ddwfr y bywyd yn rhâd. Gan hyny coeliwn yr Arglwydd, credwn ei addewidion ef, gobeithiwn yn ei drugareddau; hyderwn yn Nghrist a'i aberth, yr hwn a'n prynoedd ni, ac á daloedd drosom, gan ei roddi ei hun yn bridwerth dros bechodau yr holl fyd.

Hefyd, rhown ufydddod i'r rhâd, a'r goleuni, yr hwn à roddwyd i ni yn ddawn, i'n harwain i'r iechydwriaeth, yr hon y mae efe gwedi ei pharotoi i ni wrth ein prynu.

Ymhellach mae y rhai hyn yn dal allan, mai yr Arglwydd á ddarparoedd i Adda gwympo; ac mai efe sydd yn gyru, ac yn peri i'r annuw-

* Datt. xxii. 17.

iolion

ſolion bechu, ac yn eu dal yn eu pechodau, fel y byddo ganddo achos cyfiawn i'w coſpi hwy yn dragywydd am eu pechod; hefyd mai Duw á ddarparoedd bob peth y ſydd yn dyfod i ben.

Gwelwn yma mae y rhai hyn yn gwneuthur Duw yn awdwr pob drygioni; ac hefyd yn fwy anghyfiawn, creulon, ac annhrugarog, na'r rhai creulonaf o ddynion, à glywſom ni erioed ſôn am danynt: Canys pa le y mae, nag y bu yr un brenin, neu dywyſog, yr hwn à rwymai ei bobl â chadwynau heieirn mewn carcharau tywyll, cyn iddynt wneuthur dim i'w anfodloni, ac yno eu cadw tan y fath gloiau, a bariau, na byddai byth dichon iddynt ddyfod allan: A dyfod ar amſerau, a'u galw hwynt i'r maes i weithio ei gynhauaf; ac eiſieu iddynt ddyfod allan, eu coſpi hwy a'r fath greulonaf o goſpedigaeth?

O! pwy à gyfrifai hyn i'r Duw

hwyrfrydig i ddig, a' mawr ei drugaredd, ac edifeiriol am ddrwg? Pa le gan hyny y mae yr athrawiaeth gyfeiliornus yma, yn caniatâu fod i ddial ddim llaw yn ngholledigaeth dynion, ac nas geill ef dwyllo, na chael neb, ond y cyfryw y mae Duw gwedi eu darparu, a'u parotoi iddo.

Beth á ddywedwn ni wrth hyn? Ai nis gwyddai Petr, pa beth yr oedd efe yn ei ddywedyd? Un ai ffol ac ynfyd oedd diafol, yr hwn oedd mor drafferthus, [p] Megys llew rhuadwy, yn rhodio oddiamgylch, gan geisio y neb à allai ei lyncu? Ond efe à wyr Satan yn well na hyn, nad ydyw Duw yn gwneuthur dynion, o unfwydd iddo ef; ac nad yw ef yn cael neb ond à ddalio yn ei faglau, a'i rwydau, trwy ei dwyll, a'i abwyd.

Efe ydyw gelyn dynion, a gelyn y gwirionedd; efe à heuoedd yr efrau yn y maes, efe fydd yn twyllo, ac yn

[p] 1 Pet. v. 8.

llygru

ſlygru dynion, gan eu gwneuthur yn blant i'r drwg; megys ag y dywedoedd Criſt, [q] A'r efrau yw plânt y drwg: A'r gelyn yr hwn a'u heuoedd hwynt y diafol. Y gelyn yma à dwylloedd y dynion cyntaf i bechu yn erbyn ewyllys Duw a'i orchymmynion: Ac efe ſydd yn gweithio yn mhlant yr anufydddod, ac yn dal pechaduriaid yn gaeth wrth ei ewyllys, yn ei garcharau tywyll.

Ond mae Criſt gwedi i'r Tâd ei ddanfon: [r] A'i enneinio i efangylu i'r rhai llariaidd, i rwymo y rhai yſig eu calon, i gyhoeddi rhyddid i'r caethion, ac agoriad carchar i'r rhai ſydd yn rhwym. [s] Satan à aeth allan i dwyllo y cenedlodd ſydd yn mhedair congl y ddaiar, Gog a Magog, i'w caſglu hwy ynghyd i ryfel, rhif y rhai ſydd fel tywod y môr. [t] Ond Criſt à

[q] Mat. xiii. 38, 39
[r] Eſay lxi. 1. Luc. iv. 18. [s] Dat. xx. 8.
[t] Eſay xlix. 6. Eſay xlii. 7.

roddwyd, yn oleuni y Cenedlodd, ac yn iechydwriaeth hyd eithafodd y ddaiar. I agor llygaid y deillion, i ddwyn allan y carcharawr o'r carchar, a'r rhai à eisteddant mewn tywyllwch, i'r goleuni; i gymmodi rhwng Duw a dynion; i ddattodi gweithredodd diafol, yr hwn à wnaeth y gwahaniaeth.

Dyma yr iechydwriaeth gyffredin à brynoedd Crist, i holl ddynol-ryw â'i werthfawr waed ei hun; a'r help à roddes efe iddynt, pryd yr addawoedd ef, y cai hâd y wraig sigo pen y sarph. Ac fel y daeth y clwyf marwol, trwy bechod, ac anufydddod Adda, ac à redoedd dros y cwbl, ac i bob cwr o'r byd; felly, trwy Grist a'i aberth, yr hwn â ddarparwyd i farw er dechreuad y greëdigaeth, hwn yw yr amddiffyn sydd gwedi ei roddi i ganlyn y clwyf, can belled ag y mae gwedi myned.

I'r

I'r Duw tragywyddol, yr hwn y mae ei drugareddau yn rhagori ar ei holl weithredodd, y byddo parch, ac ufydddod, anrhydedd, a gogoniant, yr hwn ſydd yn deilwng byth, ac yn ddiddiwedd.

Mae cainc arall o'r un athrawiaeth, lle maent yn dywedyd, y rhai à gaffo unwaith râd gan Dduw, mae yn analluadwy iddynt byth gwympo oddiwrth y rhâd, na cholli eu hiechydwriaeth.

Mae hyn hefyd yn wrthwynebol i'r yſgrythyrau à henwyd o'r blaen, lle yr ydys yn dywedyd yn helaeth, Mai pan ddychwelo y cyfiawn oddiwrth ei gyfiawnder, a gwneuthur anwiredd, ni chofir ei gyfiawnder mwyach iddo; ond am y pechod à wnaeth, efe â fydd marw. [a] Hefyd mae Criſt ei hun yn dywedyd mai efe ydyw y wir winwydden, a'i Dâd yw y llafurwr. Pob cangen ynddo ef heb ddwyn

[a] Ioan xv. 1.

ffrwyth, y mae y Tâd yn ei thynu ymaith. Ac, medd Crist, Onid erys un ynosi, ef à daflir allan, megys cangen, ac à wywa; ac y maent yn eu casglu hwynt, ac yn eu bwrw yn y tân, a hwy à losgir. Felly mae yn ddichon i gangenau, à fyddo unwaith gwedi eu himpio yn y winwydden gael eu tòri ymaith, o herwydd anffyddlondeb.

Mae hyn hefyd yn wir cyfattebol â geiriau yr apostol, pryd yr oedd ef yn ysgrifenu at y rhai yr oedd ef yn eu cyfrifo yn etholedigion; a'u bod gwedi eu himpio yn y wir winwydden. Mae efe yn eu rhybuddio, gan ddywedyd: * Gwel, am hyny, ddaioni a thosturi Duw; sef i'r rhai à gwympasant, tosturi; eithr daioni i ti, os arosi yn ei ddaioni ef; os amgen, tòrir dithau hefyd ymaith.

Mae hyn yn rhedeg yn gyson gyda ffrwd yr ysgrythyrau, i rybuddio y

* Rhuf. xi. 22.

Cristion i ymgadw ar ei wiliadwriaeth, rhag mewn un modd, megys ag y twylloedd y sarph Efa, iddo yntau gael ei dwyllo; canys mae yr un [x] apostol yn dywedyd, am y rhai à oleuwyd unwaith, ac à brofasant y rodd nefol, ac à wnaethbwyd yn gyfranogion o'r Ysbryd Glân, ac à brofasant ddaionus air Duw, a nerth-odd y byd à ddaw. Pan syrthiai y rhai hyn drachefn, fod yn annalluadwy iddynt adnewyddu edifeirwch, am eu bod yn ailgroeshoelio iddynt eu hunain Fâb Duw.

Am hyny mae efe yn annog y Saint ymhlith y Galatiaid, gan ddywedyd, [y] Sefwch gan hyny yn y rhyddid â'r hon y rhyddâoedd Crist ni, ac na ddalier chwi drachefn dan iau caeth-iwed. Ac y mae yr apostol [z] Petr yn tystio yn helaeth i'r un amcan. Ni welaf fi mo'r cymmaint achos i gasglu

[x] Heb. vi. 4, &c. Pen. x. 26. [y] Gal. v. 1.
[z] Pet. ii. 20, 21, 22.

llawer

llawer o yſgrythyrau, i wirio fod yn ddichon i ddynion lithro, a chwympo oddiwrth gyflwr rhâd; a chwedi eu golchi, ymdreiglo yn y dom: Yn gymmaint nas gwn i pa le y mae yr un yſgrythyr yn dywedyd, neu yn gwirio, nas dichon hyny fod; canys fe à gwympoedd rhai o'r [a] Angelion, gan adael eu trigſanau; fe á gwympoedd Adda, ac fe à ſyrthioedd miloedd o'r pererinion i faglau Satan, gwedi iddynt gael adnabyddiaeth o Yſbryd Duw i'w harwain a'u goleuo.

Mae hyn yn annogaeth i holl weiſion Duw, i fod yn ofalus, yn ffyddlon, ac yn wiliadwrus, rhag pan ddel eu Harglwydd, iddo eu cael yn cyſgu, a'r gwaith heb ei wneuthur.

[a] Pet. ii. 4. Iud. i. 6.

# YR WYTHFED BENNOD.

*O Berthynas Erlidiadau.*

MEWN gwirionedd, mawr yw dirgelwch anwiredd yr hwn a weithioedd, ac sydd yn gweithio, yn nhywyllwch calonau dynion yn mhob oes o'r byd, yr hen Satan, yr ysbryd cyfrwys, tywyll, yr hwn sydd yn gweithio yn y nôs, ac yn troi y gwinllanodd, y rhai à blannoedd Duw, i ddwyn grawn gwylltion: Ac efe á ddechreuoedd weithio yn yr Eglwys yn foreu o'r Gristionogaeth, gan ymddangos yn angel goleuni: Ac fel ag yr oedd Crist yn danfon apostolion, yr oedd Saten yntau yn danfon apostolion, y rhai oedd yn ymrithio yn apostolion i Grist, ac yn weinidogion cyfiawnder: Etto er hyny yr oedd Duw yn cario ei waith yn y blaen: a'r wir Eglwys, a'i gweinidogion oedd

yn

yn llwyddo, a'r Criſtionogion yn amlâu; am hyny y diafol á lidioedd, ac à ymddangoſoedd eilwaith yn ei liw ei hunan, yn llew diniſtriol, ac à aeth i mewn i galon Nero i erlid, ac i garcharu, i ladd, i loſgi, ac i labyddio wyn a defaid Criſt.

Ac er hyny yr oedd gwaed y Criſtionogion yn hâd i'r Eglwys; er merthyru llawer, etto yr oedd y Criſtionogion yn amlâu. Felly efe à ganlynoedd ddeg o erlidiadau trymion ar y Criſtionogion, tan yr emherodron paganaidd o Rufain; er hyny yr oeddynt yn amlâu.

Ond y ffordd yr oedd Satan yn gorchfygu fwyaf, oedd trwy oeri y cariad, a gadel i ddynion dderbyn yr addefiad o Griſt a Chriſtionogaeth; ac o oes i oes tywyllwch yn tewâu, anwiredd yn amlâu, ymbleidiau, ac ymryſonau yn dyfod i mewn: Llai o'r yſbryd, ac o'r rhâd, ac o'r yſbrydoliaeth nefol: Ond goſod i fyny fwy-

fwy

fwy o osodiadau, a defodau; a rhoddi fwyfwy o bwys arnynt, ac yno syrthio allan o'u plegid, pa fodd i'w harfer, a'u trefnu; y naill à fynai y naill ffordd, a'r llaill ffordd arall; yno tòri allan yn ffyrch, ac yn gangenau, yn amryw ymbleidiau, tybiadau, ymraniadau dinistriol, ymladd, a thywallt gwaed eu gilydd, yn erlid, ac yn lladd Cristionogion ynghylch eu crefydd.

Dyma Satan gwedi cael yr oruchafiaeth, trwy wneuthur Cristionogaeth yn dywyllwch, ac yn anialwch, a'r Eglwys yn gau Eglwys, sef yn Butain, i eistedd mewn awdurdod, ar boblodd, a thorfeydd, a chenedlodd, ac ieithodd. Hi à gafoedd eistedd hefyd ar y bwystfil, yr hwn oedd yn bènau, ac yn gyrn, sef y gallu daiarol, yr hwn oedd elyn i'r wir Eglwys: [b] A'r wraig oedd wedi ei dilladu â phorphor, ac ysgarlad, ac wedi ei gwychu

[b] Dat. xvii. 4.

ag

ag aur, ac â main gwerthfawr, a pherlau, a chanddi gwpan aur yn ei llaw, yn llawn o ffieiddwch ac aflendid ei phuteindra. Dyma fel yr oedd y Butain wedi ymdrwſio â defodau, a thraddodiadau allanol, a goſodaethau eglwyſig, gan ymrithio yn ogoneddus y'ngolwg y boblodd, y rhai yr oedd hi yn eiſtedd arnynt, ac yn eu twyllo, gan ddal y gwpan aur, ſef addefiad o Griſtionogaeth, a phob gau ymddangoſiad, twyll, a rhagrith, ond bod bydreddi o'r tu fewn: Er hyny efe á weloedd Ioan, ar ei thalcen, henw wedi ei yſgrifenu, dirgelwch [c] Babilon fawr, Mam Puteiniaid, a ffieiddwch y ddaiar. Efe á weloedd hefyd y wraig yn feddw gan waed y ſaint, a chan waed merthyron Ieſu, ac efe â ryfeddoedd â rhyfeddod mawr.

Yr yſbryd gelynol, yr hwn oedd yn y Paganiaid, yn erlid Criſt a'i Eglwys, gwedi myned i mewn i'r bobl,

[c] Dat. xvii. 5, 6.

y rhai

y rhai oedd yn dal addefiad y Grist-ionogaeth. Felly y daeth Eglwys Rufain yn waedlyd, ac yn erlidgar i ladd, i losgi, ac i ferthyru y rhai à ddanfonai yr Arglwydd attynt, neu à gyfodai ef yn eu plith, i ddwyn tystiolaeth yn erbyn eu llygredigaeth, a'u drygfucheddau, a'r coelgrefyddau, yn eu mysg hwynt.

Gwedi iddynt, fel hyn, ymadel â'r gwirionedd, a cholli y golwg ar Grist, yr hwn, yn y wir eglwys, oedd yn ben, ac yn llywodraethwr yn ei saint a'i ddilynwyr, yna y gosodasant Esgob Rhufain i fod yn ben i'r gau Eglwys; ac wedi hyny nid y peth à ddywedai Crist oedd i gymmeryd sylw o hono, ond y peth à ddywedai y Pâb, a'r Eglwys. Arglwydd y cynhauaf à ddywedoedd wrth ei weision, Peidiwch a thynu yr efrau; gadewch iddynt gydtyfu â'r gwenith hyd amser y cynhauaf: Ond y Pâb a'r Butain, y rhai sydd yn galw y gwenith (sef

plant y rhâd) yn efrau, á ddywedant tynwch hwn igyd; ac felly Satan á fynai ddiwreiddio y gwirionedd a chrefydd bur allan o blith dynion. Yſbryd tywyll, llidiog, ymddialgar, anghriſtionogol, ydyw yſbryd erlidiaeth, yn mha ddyn bynag, neu yn mha bobl bynag y byddo yn ymddangos; gelyn y gwirionedd ydyw yr anian ſilain, felltigedig, á ddechreuoedd ymddangos yn amſer Cain; a'r ddinas fawr hôno, ſef Babilon, á ddechreuoedd oſod ei ſylfeini y'nghalonau dynion yn foreu o'r greedigaeth; canys fe á ddywedpwyd am dani: Mai ynddi hi y caed gwaed prophwydi a ſaint, a phawb or à laddwyd ar y ddaiar.

Felly yr yſbryd a'r anian ddrwg, a fu yr achos i ladd y prophwydi, ac i erlid y bobl dduwiol yn mhob oes; canys yr oedd, ac y mae gelyniaeth yn yr yſbryd ſarffaidd yn erbyn Criſt, ac yn erbyn ei ſaint ef: Felly

yr

yr oedd yr Arglwydd yn danſon ei gènadon, fel wyn, ymyſg bleiddiaid, i gael eu herlid, a'u dwyn ger bron brawdleodd i'w lladd, i'w merthyru, er mwyn ei enw ef, yr hwn yr oedd y byd yn ei gasâu.

Gan hyny yr hen ddiafol, gelyn pòb daioni, ſydd yn cynhyrfu ei weiſion i erlid y rhai diniwaid, ac mae yn perthyn i erlidiwr gael dau beth i'w gymhwyſo at erlidiaeth, cael mwgwd y ſágddu ar ei lygaid, fel nas gwelo pa beth y mae ef yn ei wneuthur. Canys efe á ddywedodd Criſt wrth ei ddiſgyblion:[d] Hwy a'ch bwriant allan o'r Synagogau; ac y mae yr awr yn dyfod y tybia, pwy bynag a'ch lladdo, ei fod yn gwneuthur gwaſanaeth i Dduw. Mae yn perthynu iddo hefyd, gael ſerio ei gydwybod â haiarn poeth, rhag iddi ddolurio, a gwaedu wrth ladd, ac arteithio yr wyn, a'r rhai diniwaid.

[d] Ioan xvi. 2.

Ond yn y dallineb yma, a'r creulondeb, y bydd yr erlidwyr yn ymgynghori ynghyd: Deuwn ni wyn a defaid Crist, gadewch i ni ladd y bleiddiaid. Pa le y clywsom ni fod y defaid yn lladd y bleiddiaid? Nid oes yr un ysgrythur, na dim cynnelwau nag un rheswm à ddywed i ni y fath beth: Ond mae yr erlidwyr yn eu dangos eu hunain yn fleiddiaid, a'r rhai y byddont hwy yn eu herlid, yn ferthyron Iesu.

Felly dallineb ac anwybodaeth, creulondeb, llid, cenfigen, a chasineb i bob daioni, á sydd yn eistedd yn farnwyr yn mrawdleodd Babilon, pryd y byddo dilynwyr Iesu, yn cael eu barnu i ddyoddef dros ei enw ef; ac yn y llysodd yma, ni i wiw neb ofyn, pa ddrwg á wnaeth y pererin, ond ymaith â'r cyfryw un: croger, llosger, croeshoelier, croeshoelier ef! * Dyma y triniad à gafoedd Crist ei hunan,

* Luc. xxxiii. 2, 5, 21.

blaenor

blaenor y merthyron, yn y frawdle Fabilonaidd. Ni bu gwiw i Pilat, yn ei lys ei hunan, ddadleu dros yr Iesu; eu hachwyn hwynt yn ei erbyn ef, oedd, ei fod ef yn gwyrdroi y bobl, ac yn dysgu trwy holl Iudea: Am hyny, hwy á fynent ei groeshoelio. Ond Pilat á ddywedoedd, Nid wyfi yn cael dim bai ar y dyn hwn: Efe á ddadleuoedd drachefn, ei fod ef wedi ei holi; a Herod gwedi ei holi ef; ac na chawsent ddim bai ynddo, na dim yn haeddu marwolaeth; am hyny efe a'i ceryddai, ac a'i gollyngai ymaith. Yno yr holl liaws á lefasant ar unwaith, gan ddywedyd, bwrw hwn ymaith, a gollwng i ni Barrabas yn rhydd: Yr hwn oedd yn rhwym am lofruddiaeth. Am hyny Pilat á ddywedoedd wrthynt drachefn, gan ewyllysio gollwng yr Iesu yn rhydd. Eithr hwy á lefasant arno, gan ddywedyd, Croeshoelia, croeshoelia ef! Ond Pilat á ddadleuoedd, gan

 ddywedyd

ddywedyd, Canys pa ddrwg á wnaeth efe? Ni chefais i ddim achos marwolaeth ynddo, am hyny mi a'i ceryddaf, ac a'i gollyngaf yn rhydd. Hwythau á fuant daerion, á llefau uchel, gan ddeisyfu ei groeshoelio ef: A'u llefau hwynt, a'r archoffeiriaïd á orfuant.

Dyma y triniad à gafoedd y Meistyr, yr hwn á dóroedd y brisg i'w Saint, a'i Ferthyron, gan ddangos iddynt gynnelwau nefol, efengylaidd, pa fodd i'w ddilyn ef trwy erlidiaeth, gan ddangos ei athrawiaeth, a'i anian bur yn ei ddyoddefaïnt, yr hwn á ddywedoedd, Cerwch eich gelynion, bendithiwch y rhai a'ch melltithiant: Gwnewch dda i'r sawl a'ch casânt, a gweddiwch tros y rhai à wnel niwed i chwi, ac a'ch erlidiant.

Felly pan arweiniwyd ef i'w groeshoelio, a'r gelynion creulon yn curo hoelion drwy ei gnawd, efe á dostur-

ioedd

ioedd wrthynt. Dyma yr anian nefol, yr hon ſydd yn yr Oen; a'r yſbryd efengylaidd, yr hwn y mae efe yn ei gyfranu i'w ddilynwyr yn eu ddyoddefiadau. Yna efe á weddioedd droſtynt, gan ddywedyd, O Dâd, maddeu iddynt: Canys ni wyddant pa beth y maent yn ei wneuthur. A'r un cyntaf á ddilynoedd ei Feiſtyr mewn merthyrdod, oedd Stephan, yr hwn oedd gwedi derbyn o'r un yſbryd, rad, a rhinwedd, i'w gymhwyſo i oddef am ei dyſtiolaeth, pryd yr oedd y dynion yn filain, ac yn gythreulig, yn ei guro ef â meini, i'w farwolaeth: [f] Efe á oſtyngoedd ar ei liniau, ac á lefoedd â llef uchel, Arglwydd, na ddod y pechod hyn yn eu herbyn. Dyma yr anian efengylaidd, drugarog, faddeugar, yr hon nid yw yn casâu neb, yn cenfigenu wrrh neb, nag yn chwennych drygu neb, ond daioni pob dyn. Tyſtiolaeth

[f] Act. vii. 60.

cenadon

cenadon Duw yn mhob oes, oedd y gwirionedd; ac am ddywedyd y gwir, y byddent hwy yn cael eu casâu, a'u herlid.

Am ddywedyd y gwir y rhoddwyd [g] Michea yn y carchardy, i'w fwydo â bara cyſtudd, ac â dwfr blinder: Am ddywedyd y gwir, y bwriwyd [h] Ieremi i'r daiardy dwfn: Am ddywedyd y gwir y caſoedd dilynwyr Ieſu eu casâu, a'u herlid gan yr yſbryd creulon yn mhob oes o'r byd. Nid oedd wiw i'r Criſtionogion, yn y brif Eglwys, ddadleu eu diniweidrwydd o flaen y Paganiaid; nid oedd dim ond eu merthyru am dyſtiolaeth Ieſu, ac am nas addolent eu gau Dduwiau hwynt.

Nid oedd wiw i'r Proteſtaniaid, ac amryw ereill, pryd yr oeddynt yn adferu crefydd, ddadleu mo'u diniweidrwydd yn llys Eſgobion Rhufain; na gofyn, Pa ddrwg á wnaethom ni?

[g] 1 Bren. xxii. 27. [h] Ierem. xxxviii. 6.

Ond am eu tyſtiolaeth yn erbyn llygredigaeth, a choelgrefydd y Papyddion; nid oedd dim ond eu difetha â phob dihenydd creulon.

Nid oedd wiw i'r Cyfeillion, yn Lloegr Newydd, o flaen y frawdle hòno, cfyn, Pa ddrwg á wnaethom? Pa gyfraith á dòraſom? Ond am eu dyfod hwy yno i ddwyn eu tyſtiolaeth yn erbyn llygredigaeth, nid oedd dim ond eu crogi hwynt.

Felly ar yr un achos yr oedd Criſt, a'i brophwydi, a'i apoſtolion, a'i holl genadon, yn mhob oes, yn goddef, ſef am eu tyſtiolaeth i'r gwirionedd, yr hwn nis gallai y byd mo'i dderbyn: Canys nid oeddynt hwy yn llefaru â'r geiriau à ddyſgir gan ddoethineb dynol, ond à ddyſgir gan yr Yſbryd Glân. [i] Ond dyſgeidiaeth yr Yſbryd Glân, ſydd allan o gymmeriad ymyſg doethion y byd hwn; canys ynfydrwydd ydyw yn eu

[i] 1 Cor. ii. 13.

golwg.

golwg. Crist ydyw y maen, yr hwn á wrthodoedd yr adeiliadwyr yn mhob oes, sef doethion y byd hwn; am hyny fe á gyfrifoedd Duw ddoethineb y byd hwn, yn ynfydrwydd; am eu bod yn derchafu doethineb a dysgeidiaeth ddynol, o flaen yr un ysbrydol: Ac am eu bod yn gwrthod y maen gwerthfawr, craig yr oesodd, ffynnon y dwfr byw, ac yn ei gasâu ef, a'i gènadon, a'i gènadwri: Beth gan hyny ydyw y gènadwri, y mae Crist a'i gènadon yn ei hadroddi ymhlith plant y byd hwn, i beri iddynt ddigio, a llidio wrthynt, ond efengyl yr iechydwriaeth, sef galw dynion oddiwrth Satan at Grist, o deyrnas y tywyllwch i deyrnas Mâb Duw, ac i'w oleuni ef: Maent hefyd yn galw allan o Fabilon bobl yr Arglwydd, fel na byddont gydgyfranogion o'i phechodau hi, ac na dderbyniont o'i phlaau hi, gan alw pawb i'r dyfrodd, ac i brynu gwin a llaeth,

heb

heb arian ac heb werth. Yn erbyn hyn mae Satan yn cyffroi, rhag colli ei ddeiliaid, ac yn cynhyrfu trigolion y ddaiar, y rhai à feddwasant gan win puteindra y ddinas fawr; hefyd ei marchnatâwyr, rhag colli eu helw, a'i gwyr mawrion, y rhai á fuant fyw yn foethus ynddi, gan borthi eu trachwantau, hwy á gydunant i ryfela yn erbyn yr Oen, ac yn erbyn ei Saint; ond arfau milwriaeth gweision i Grist, nid ydynt gnawdol, ond ysbrydol, ac yn yr ysbryd addfwyn, gwedi iddynt adnabod ofn Duw, maent yn [k] annog ereill, gan eu cynghori, mewn cariad ac ewyllys da i'w cyrph a'u heneidiau, gan ddymuno arnynt eu cymmod â Duw; gan ddangos iddynt ymarweddiad a chynnelwau da, amynedd, a dyoddefgarwch tuag at eu hennill, fel y dywedoedd yr apostol Iago, [l] Pwy sydd wr doeth a deallus yn eich plith,

[k] 2 Cor. v. 11. [l] Iago iii. 13, 14. 15, 16, 17.

drwy ymarweddiad da, ei weithredodd mewn mwyneidddra doethineb. Eithr od oes gennych genfigen chwerw, ac ymryson yn eich calon, na fyddwch ffrostwyr, a chelwyddog yn erbyn y gwirionedd. Nid yw y doethineb hyn yn disgyn oddi uchod; ond daiarol, anianol, cythreulig yw. Canys lle mae cenfigen ac ymryson, yno y mae terfysg, a phob gweithred ddrwg. Eithr y doethineb sydd oddi uchod yn gyntaf, pur ydyw, wedi hyny heddychol, boneddigaidd, hawdd ei thrin, llawn trugaredd a ffrwythau da, diduedd, a diragrith.

Dyma y ddoethineb à ennill ar galonau dynion tuag at eu troi at Dduw, nid eu gyru drwy drais, a nerth braich ac arfau cnawdol. Mae yn hawdd ddigon i aelodau o'r wir Eglwys gael eu twyllo gan Satan, i ddal allan ryw bynciau cyfeiliornus, nas geill yr Eglwys oddef monynt.

Pa beth gan hyny á wneir i'r cyfryw rai? Ond ar ol annog a chynghori, onis gellir eu hennill, eu troi o undeb yr Eglwys, ac yno eu gadel gyda y rhan arall o ddynol-ryw, i sefyll neu i syrthio i'w meistyr eu hunain. Beth gan hyny, pan yw yr Eglwys mewn awdurdod, a'r penaethiaid a'r swyddogion yn aelodau o honi, ai nid yw yn gyfreithlon i'r swyddogion arfer cerydd, megys pridwerth a charcharau, tuag at droi y rhai cyfeiliornus i'r ffordd?

Mewn gwirionedd nid erlidiaeth, sef eu hyspeilio, a'u carcharu, á ddaw byth â dynion i garu crefydd y rhai à fyddo yn eu herlid; ond mae hyny yn rhoddi y fantais iddynt, i'w siccrâu, a'u cryfâu yn eu ffordd, a'u cyfrif eu hunain yn goddef erlid er mwyn Crist, a'u cydwybod; gan edrych ar eu herlidwyr, eu bod yn greulon, ac yn annhrugarog: Canys peth creulon ydyw erlidiaeth, y'ngolwg pawb y

 sydd

ſydd yn goddef dano; ond mae yn naturiol, ac yn dygwydd yn rhy gyffredin ymhlith addefwyr Crêd, pan elont i fewn awdurdod, i gyfodi erlid yn erbyn y rhai à ſyddo heb allu uno â hwynt mewn crefydd. Mae hyn hefyd yn groes i anian Criſt, ac i'w orchymmynion, i'w gyfraith ef, a'i deyrnas nefol, yr hon nid yw o'r byd hwn, ac nid yw ei weiſion ef i ryfela am dani ag arfau cnawdol, megys ag y gwelir yn ei athrawiaeth. Pryd yr oedd tref y Samariaid wedi gwrthod derbyn Criſt: [m] Ei ddiſgyblion ef Iago ac Ioan, pan welſant, á ddywedaſant, Arglwydd, á fyni di ddywedyd o honom, am ddyfod tân i lawr o'r nef, a'i diſa hwynt, megys y gwnaeth Elias? Ond efe á droes ac a'u ceryddoedd hwynt, ac á ddywedoedd, ni wyddoch o ba yſbryd yr ydych chwi: canys ni ddaeth Mâb y Dyn,

[m] Luc. ix. 54, 55, 56.

i ddiſtrywio

i ddiſtrywio eneidiau dynion, ond i'w cadw.

Gwelwn belled oddiwrth yr Ieſu, oedd dychwelyd dim ymddial, er bod gallu yn ei law; a'i fod ef yn ceryddu yr yſbryd hwnw yn ei ddiſgyblion, ac yn ei lwyr amherchi, fel peth gwrthwynebol i'w anian ef, a'i deyrnas, a'i efengyl: A chanfod yn anghyfreithlon, ac yn wrthwynebol i ffordd Criſt, alw am dân o'r nefodd, i ddifetha y rhai ni fynent dderbyn mo hono ef; pa faint mwy anghyfreithlon ydyw cynneu tân ar y ddaiar i ddifa y rhai à fyddo yn credu ynddo, oblegyd nas gallant, o ran cydwybod, wnio mo'u crefydd yn gymhwys wrth lewys y ſwyddogion, a chredu, a dywedyd pob peth fel nhwythau? Ac os rhaid i bobl ddilyn crefydd y rhai à fyddo mewn awdurdod, ofer iddynt chwilio yr yſgrythyrau, a cheiſio profi beth ſydd dda i'r dyben tuag at ei ddilyn; canys mae yn

 rhaid

rhaid iddynt gymmeryd crefydd y fwyddogion, neu ymadel a'r wlad, neu ymroi i farw dros eu crefydd.

Mae yr erlidwyr wrth erlid, a dadleu dros eu gwaith, yn cyfiawnâu yr holl erlidwyr creulon, a melltigedig, yn mhob oesodd, oedd yn erlid pobl Duw; ond fe allai y dywedant, rhai drwg oedd y rhai hyny gynt, a'r rhai da yr oeddynt hwy yn eu herlid, ond nid felly y mae y pryd hyn, ond nyni ydyw y bobl dduwiol fydd yn y ffordd, ac yr ydym ni yn ceifio troi y rhai cyfeiliornus i'r iawn, ac i ddychwelyd attom ni.

Ond dyma y ddadl, a'r esgus oedd gan yr holl erlidwyr yn yr oesodd gynt, i geifio eu hesgusodi, a'u cysgodi eu hunain, a chyfiawnâu eu hachos? Wrth hyny gan fod erlidwyr pob oes, o'r un lais, pa faint mwy o wirionedd, fydd yn yr esgusion yma y'ngenau yr erlidwyr diweddar, mwy na rhai cynnar? Ofer iddynt ddywedyd, nyni

ydyw

ydyw yr wyn, erlidiwn ar ol y bleiddiaid, oblegid hyd yn hyn o'r byd, yr wyn á gafodd ddyoddef fel y dywedoedd yr apostòl, Pawb ar fydd yn ewyllysio byw yn dduwiol yn Nghrist Iesu, á erlidir.

Pan fyddo y gwir Gristion wedi llwyr-fwriadu cadw gorchymmynion Crist, a'r swyddogion yn gorchymmyn yn y gwrthwyneb, mae yn rhaid i'r ffyddlon oddef tros ei grefydd, doed à ddelo, a dywedyd, fel [n] Pedr ac Ioan, Ai cyfiawn yw, ger bron Duw, wrando arnoch chwi, yn hyttrach nag ar Dduw? Bernwch chwi.

Mae yr oesodd diweddaf hyn, yn gwirio yr un pethau; gwrthyn ydyw adroddi gymmaint à ddyoddefoedd y dynion à elwir Cfeillion * yn Lloegr, ac mewn lleodd eraill, am nas gallent dyngu er mwyn cadw

[n] Act. iv. 19.

* Ymhlith y Saeson cawsant yr enw cyffredin *Quakers*, sef yw hyny *Crynwyr*.

 gorchymmyn

gorchymmyn Crist, yr hwn á ddywedoedd, Na thwng ddim; ond hwynthwy á ddywedent, tyngwch; ond mae Crist gwedi rhoddi y gorchymmyn allan mor eglur a chyflawn, na ddichon holl blant Adda lygredig mo'i ddiddymu. Pryd yr oedd Crist yn dangos y rhagoriaeth, oedd rhwng ei gyfraith ei hunan, (sef cyfraith y cyfammod newydd) â chyfraith Moses: Ebai ef, * Clywsoch ddywedyd gan y rhai gynt, Na thwng anudon; eithr tâl dy lwon i'r Arglwydd. Ond yr ydwyfi yn dywedyd wrthych chwi, Na thwng ddim. Dyma ef, yn y lle cyntaf, yn gorafun tyngu i'r Arglwydd, yr hyn oedd, dan yr hen gyfraith, yn orchymmynedig: Hefyd, nag i'r nef, canys gorseddfa Duw ydyw; nag i'r ddaiar, canys troedfainc ei draed ef ydyw; nag i Ierusalem, canys dinas y brenin mawr ydyw: Ac na thwng i'th ben,

* Mat. v. 33, 34.

am na elli wneuthur un blewyn yn wyn, neu yn ddu. Eithr bydded eich ymadrawdd chwi, ie, ie; nage, nage: Oblegid beth bynag ſydd tros ben hyn, o'r drwg y mae. Gwelwn fod Criſt yma wedi gorafun pob math ar lwon, ac hefyd gorchymmyn; Na thwng ddim.

Ond mae llawer o'r rhai ſydd yn cymmeryd arnynt fod yn Griſtionogion da, yn yr oeſodd hyn, heb weled mo'r angenrhaid, am gadw gorchymmyn Criſt; am hyny hwy á ymdrechant i gaſglu llawer o reſymau, i geiſio taflu i lawr, a diddymu gorchymmyn, ac athrawiaeth Ieſu: Ond pan fwyaf à gaſglo y dyn doeth yn ei olwg ei hun, o ddadl ac o reſymau, i wrthſefyll Criſt, mwyaf y mae y dyn yn ei wneuthur ei hun yn elyn, ac yn wrthwynebwr iddo; canys efe ydyw Awdwr y cyfammod newydd, a'r gwir oſodwr cyfraith; a'r prophwyd mawr, yr hwn y mae pob un i wrando

arno,

arno, tan boen eu tòri ymaith: I ba le yr eiff y dyn, gan hyny, i hela, neu i gafglu dadl i fefyll dros ei waith yn tyngu? Os eiff i gyfraith Mofes, mae Crift wedi newid hòno: nid oes i ti ddim yno, oni's myni fod yn Iuddew.

Ond os deui di i chwilio y Tefta-ment Newydd, tydi á gei weled yno fod yr apoftol Iago, o'r un lais a'i feiftyr, gan ei roddi yn orchymmyn eglur, na byddai iddynt dyngu; gan ddywedyd, [p] Eithr o flaen pob peth, fy mrodyr, Na thyngwch, nag i'r nef, nag i'r ddaiar, nag un llw arall; eithr bydded eich ie chwi yn ie, a'ch nage yn nage, fel na fyrthioch i farnedig-aeth.

Gwelwn yma y ddwy dyftiolaeth hyn o eiddo Crift a'i apoftol, yn cyd-redeg mor gyfon, yn cau allan bob math o lwon. Yr oedd yr apoftol yma hefyd yn ei orchymmyn o flaen pob peth, oblegid iddo ddyfod oddi-

[p] Iago v. 12.

wrth ei feistyr mawr, sef Arglwydd yr Arglwyddi, a Brenin y Brenin-odd; ac hefyd dan y fath berygl, rhag iddynt syrthio i farnedigaeth.

Ond mae y dynion yn ceisio dal allan, na ddarfu i Grist na'r apostol orafun tyngu o flaen swyddogion, mewn ffordd o fod yn dystion ar achosion. Ond mewn gwirionedd, mae y tystiolaethau yma o eiddo Crist a'i apostol, gwedi eu gweithio yn fodrwy mor gyfangadarn, nad oes dim lle i amser, nag i achos i dóri i mewn iddi.

Ond beth, pan alwer y cyfryw rai sydd am gadw y gorchymmyn yma, i ddyfod o flaen swyddogion, yn dyst-ion ar ryw achos, pa beth á ddywed-ant? Onid ydyw Crist wedi dywedyd iddynt, a rhoddi y gair yn eu genau? Sef, Eithr bydded eich ymadrawdd chwi, ie, ie, nage, nage: Oblegid beth bynag sydd tros ben hyn, o'r drwg y mae. A'r apostol hefyd,

Bydded

Bydded eich ie chwi yn ie, a'ch nage yn nage, fel na syrthioch i farnedigaeth. Ond mewn gwirionedd, mawr ydyw y rhagoriaeth sydd rhwng llais yr apostol, a llais y byd presennol, lle y mae ef yn dywedyd, O flaen pob peth, na thyngwch ddim.

Hwythau á ddywedant, o flaen pob peth, mae yn rhaid i chwi dyngu. Ni chaniatânt hwy neb yn weinidog yn yr eglwys, heb iddo yn gyntaf dyngu, i dor-gorchymmyn Crist, megys pe baent yn barnu, nad yw dyn yn gymhwys i wasanaeth yn y byd, heb iddo yn gyntaf dyngu.

Ond ni byddai ond gweddol i'r dynion sydd yn cyfaddef Crist, onid allent beidio â thyngu, adel llonydd i'r rhai à fo yn chwennych peidio, o ran cadw y gorchymmyn. Dád tragywyddol! Arglwydd nef a daiar! Goleua di ar blant dynion; tyn hwy allan o Babilon, y ddinas dywyll,

lle mae y llid a'r genfigen, y balchder, a'r ymryſon, a'r ymddial, a'r rhyfelodd, a'r tywallt gwaed; ſymmud hwynt i Ieruſalem newydd, lle y mae y goleuni, lle mae y cariad, lle mae tangnefedd, undeb, heddwch, cymdeithas â'u gilydd, ac â'r Tâd a'r Oen, ymhlith yr holl ddinaſyddion.

## Y NAWFED BENNOD.

*O Berthynas Anghrist, Dymchweliad Babilon, y Bwystfil a'r gau Brophwyd.*

Y GENADWRI, yr hon yr oedd gweision Duw gwedi ei derbyn ganddo, ac yn ei hadrawdd i ereill, mai goleuni ydyw Duw, ac ynddo ef nid oes dim tywyllwch; a'r gwaith yr oedd Duw yn eu gosod hwy arno oedd, troi dynion o'r tywyllwch i'r goleuni, o feddiant Satan at Dduw; sef o'r deyrnas dywyll, lle y mae diafol, yr ysbryd tywyll, yn rheoli, i'r deyrnas oleu, yr hon y mae yr Arglwydd Dduw yn oleuni iddi; ac i'r ddinas hono, yr hon [q] nid rhaid iddi wrth yr haul na'r lleuad i oleuo ynddi: Canys gogoniant Duw a'i goleuoedd, a'i goleuni hi ydyw yr Oen. A chenedlodd y rhai cadwed-

[q] Dat. xxi. 23, 24.

ig â rodiant yn ei goleuni hi. [r] Ni bydd yr haul iti mwyach yn oleuni y dydd, a'r lleuad ni oleua yn llewyrch i ti: Eithr yr Arglwydd á fydd i ti yn oleuni tragywyddol, a'th Duw yn ogoniant iti. Dyma orchwyl y gwir apostolion, sef galw dynion at Dduw, yr hwn sydd oleuni, gwedi goleuo pob dyn; a'u galw hwy at Grist, yr hwn yw goleuni y bywyd; a'r goleuni yma (yr hwn ydyw y Tâd a'r Mâb) á oleuoedd bob dyn à ddaeth i'r byd: [s] A hon yw y farnedigaeth, ddyfod goleuni i'r byd, a charu o ddynion y tywyllwch yn fwy na'r goleuni: Canys yr oedd eu gweithredodd yn ddrwg. O herwydd pob un ar sydd yn gwneuthur drwg, sydd yn casâu y goleuni, ac nid yw yn dyfod i'r goleuni, fel nad argyhoedder ei weithredodd ef. Ond yr hwn sydd yn gwneuthur gwirionedd, sydd yn dyfod i'r goleuni, fel yr

[r] Esay lx. 19. [s] Io. iii. 19.

eglurâer ei weithredodd ef, mai yn Nuw y gwnaed hwynt.

Felly y rhai sydd yn casâu y goleuni ynddynt eu hunain, maent yn casâu Duw, am ei fod yn eu hargyhoeddi am eu pechodau: Ac lle y maent yn caru y tywyllwch ynddynt eu hunain, y maent yn caru diafol, yr hwn sydd yn llefaru heddwch iddynt; er iddynt rodio yn ol chwantau eu calonau eu hunain.

Felly mae y gweinidogion y mae Duw a Christ yn eu danfon, yn cael eu casâu gan y byd, am eu bod yn dywedyd yn erbyn drwg mewn dynion: Am hyny yr oedd yr Iesu yn cysuro ei ddisgyblion, gan ddywedyd, [t] Os yw y byd yn eich casâu chwi, gwybyddwch gasâu o hono fyfi o'ch blaen chwi. Pe byddech o'r byd, y byd á garai yr eiddo: Ond oblegid nad ydych o'r byd, eithr i mi eich dewis allan o'r

[t] Io. xv. 18, 19.

byd

byd, am hyny mae y byd yn eich casâu chwi.

Felly yn gymmaint ag nad oedd y byd yn gallu derbyn, na bodloni i'r cyfryw fath ar weinidogion, a'r rhai yr oedd Crist yn eu danfon; am hyny yr oedd, ac i mae y byd, yn darparu, ac yn cymhwyso gweinidogion iddynt eu hunain, wrth eu bodd eu hunain, y rhai à ddywedant yr hyn à fyddo yn eu bodloni; felly hwy á bentyrant iddynt eu hunain athrawon (gan fod eu clustiau yn merwino) y rhai à fyddo yn mawrygu eu hwynebau hwynt, er mwyn budd. Mae y byd yn cymhwyso ei weinidogion, drwy ei ysbryd a'i ddoethineb: Ac fel y dywedoedd Ioan, "Hwynthwy o'r byd y maent: Am hyny y llefarant am y byd, a'r byd á wrendy arnynt. [w] Ac megys y clywsoch y daw Anghrist, yr awron hefyd y mae Anghristiau lawer, wrth yr hyn y

[u] Ioan, iv, 5. [w] 1 Ioan, ii, 18, 19.

 gwyddom,

gwyddom, mai yr awr ddiweddaf ydyw. Oddi wrthym ni yr aethant hwy allan, eithr nid oeddynt o honom ni, canys pe buasent o honom ni, hwy á arosasent gyda ni: eithr hyn á fu fel yr eglurid nad ydynt hwy oll o honom ni.

Dyma y gau Brophwydi, y rhai y dywedoedd Crist am danynt, eu bod hwy i ddyfod i'w plith hwynt, yn ngwisgodd defaid, y rhai oedd i'w gochelyd, ac i'w hadnabod wrth eu ffrwythau. * A'r gau athrawon yma á ymlysgasant i mewn i'r Eglwys, yn nyddiau yr apostolion, y rhai oedd yn dwyn eu tystiolaethau yn eu herbyn hwynt, megys ag y gwelir, 2 Cor. xi. 12, 13, 14, 15. Iudas iv. 8. 10, 11, 12, 16. 19. ac amryw leodd ereill: Felly llygredigaeth á dyfoedd ymhlith dysgawdwyr yr Eglwys, yr Esgobion yn myned yn wyr mawrion, i gael anrhydedd yn y

* Mat. xvii. 15.

byd;

byd; yna myned i gybyddu ar ol parch a blaenoriaeth, lleodd uchel, ac awdurdod, ac arglwyddiaeth dros yr Eglwys, a thros y naill y llall; yna yr oedd yn rhaid cael elw mawr, a chyfoeth, i'w cynnal mewn anrhydedd: Hefyd yr oedd yn rhaid iddynt ddyfgu yn yr yfgolion, raddau, ieithodd a doethineb dynol, i'w cymhwyfo i fod yn weinidogion yn yr Eglwys.

Felly, drwy fod llygredigaeth yma yn prifio o oes i oes, fe á ofodwyd bariau o flaen y rhai tylodion anllythyrenog ac annyfgedig, i'w cau allan, na byddai iddynt ddim rhan yn y weinidogaeth: Yna Yfbryd Iefu a'i lywodraeth á gaewyd allan o'r Eglwys, ond llywodraeth, a doethineb, ac anrhydedd dynol, â ofodwyd i fyny yn ei le ef: Rhyfygu awdurdod i wneuthur eu gweinidogion yn ol eu hewyllys, a'u ffordd eu hunain, a phenodi iddynt gyfoeth ac anrhydedd y byd hwn; yna yr oedd

 pob

pob un i wynebu ar ol ei ffordd ei hunan, ac i edrych ar ol ei elw yn y cwr a'r lle, y byddai yr elw gwedi ei drefnu iddo. Dyna'r fath wiliedyddion oedd yn y dyddiau gynt, y rhai ni wyddent ddim. [y] Ie cwn gwancus ydynt, ni chydnabyddant a'u digon, a bugeiliaid ydynt ni fedrant ddeall. Dyma y fath fugeiliaid yr oedd Duw yn cyhoeddi gwae yn eu herbyn. Y rhai oedd yn eu porthi eu hunain, ac nid y praidd, gan ddywedyd, [z] Y brasder á fwytëwch, a'r gwlân á wisgwch, y brâs á leddwch, ond ni phorthwch y praidd: Ni chryfâsoch y rhai llesg, ac ni feddyginiaethasoch y glaf, ni rwymasoch y glaf, ni rwymasoch y ddrylliedig ychwaith, a'r gyfeiliornus ni ddygasoch adref; a'r golledig ni cheisiasoch, eithr llywodraethasoch hwynt â thrais, ac â chreulondeb. Yr un cwyn oedd trwy y prophwyd

[y] Esay v. 10, 11. [z] Ezec. xxxiv. 2, 3, 4.

Ieremi,

Ieremi, yn erbyn prophwydi Ierusalem, y rhai oedd yn cynnorthwyo dwylo y rhai drygionus, fel na ddychwel neb oddi wrth ei ddrygioni. [a] Y rhai á ddywedant wrth fy nirmygwyr: yr Arglwydd á ddywedoedd, bydd i chwi heddwch; ac wrth bob un sydd yn rhodio wrth amcan ei galon ei hun, y dywedant, ni ddaw arnoch niwed. Ni hebryngais i y prophwydi hyn, etto hwy á redasant: Ni leferais wrthynt, er hyny hwy á brophwydasant. A phe safasent yn fy nghynghor, a phe traethasent fy ngeiriau i'm pobl: Yna y gwnaethent iddynt ddychwelyd o'u ffordd ddrwg; ac oddiwrth drygioni eu gweithredodd. Y rhai á hudant fy mhobl â'u celwyddau, ac â'u gwagedd, a mi heb eu gyru hwynt, ac heb orchymmyn iddynt: Am hyny ni wnant ddim lles i'r bobl hyn, medd yr Arglwydd.

[a] Ier. xxiii. 17. 21, 22, 23.

Hefyd

Hefyd, trwy Micah, [b] Fel hyn y dywed yr Arglwydd am y prophwydi sydd yn cyfeiliorni ei bobl, Y rhai á frathant â'u dannedd, ac á lefant, heddwch: A'r neb ni roddo yn eu pènau hwynt, darparant ryfel yn ei erbyn. Eu penaethiaid à roddant farn er gobrwy, a'u hoffeiriaid à ddysgant er cyflog, a'r prophwydi à ddewiniant er arian: Etto wrth yr Arglwydd yr ymgynnaliant, gan ddywedyd; onid yw yr Arglwydd i'n plith? Ni ddaw drwg arnom.

Ac mewn gwirionedd, er bod gau athrawon yr amser diweddaf hyn, wedi cael eu gwychu â thlysau y Butain: ac er iddynt ddal y gwpan aur, er hyny mae yr un gwreiddyn yn dwyn allan yr un ffrwythau: Ac fel ág y nodoedd Crist hwynt, [c] Bleiddiaid rheibus ydynt: Wrth eu ffrwythau yr adnabyddwch hwynt. Felly yr oedd yr apostol Pedr yn rhoddi yr

[b] Mic. iii. 5, 11. [c] Mat. vii. 15, 16.

un

un-nodau, ar y gau athrawon; yr oedd ef yn dywedyd am danynt, eu bod i ddyfod i blith y Cristionogion, y rhai [d] mewn cybydd-dod à wnant faeliant o honoch; barnedigaeth y rhai er ystalm, nid yw segur a'u colledigaeth nid yw yn hepian: A llygaid ganddynt yn llawn godineb, ac heb fedru peidio â phechod: Yn llithio eneidiau anwadal, a chanddynt galon wedi ymgynnefino â chybydd-dra, plant y felltith: Wedi gadel y ffordd uniawn, hwy à aethant ar gyfeiliorn, gan ganlyn ffordd Balaam, yr hwn à garoedd wobrwy anghyfiawnder.

Yr ysbryd cybyddus yma, à ddaeth i mewn i galonau rhai, yn Eglwys y Corinthiaid, yr hyn à baroedd i'r apostol Paul fod mor gaeth, nas gallai gymmeryd dim gan neb o honynt, i atteb ei angenrheidiau, rhag rhoi achlysur iddynt. [e] Mal ag y mae ef

[d] 2 Pedr. ii. 3, 14. [e] 2 Cor. xi. 9. 12, 13.

yn

yn tyſtio yn helaeth, modd y buaſai ef mewn eiſieu yn pregethu iddynt Efengyl Duw yn rhâd. A'r gweinidogion cybyddus hyny à gyfrifoedd ef yn gau apſtolion, gweithwyr twyllodrus, wedi ymrithio yn apoſtolion i Griſt. Ac mewn gwirionedd, mawr yw y rhagoriaeth ſydd rhwng gweinidogaeth a gweinidogion Criſt, a gweinidogion a gweinidogaeth Anghriſt, mae mor annhebyg ag ydyw dwfr a thân, goleuni a thywyllwch. Yr oedd Criſt yn galw ei ddiſgyblion, o wŷr anllythyrenog, ac yn ei cymhwyſo trwy ei râd a'i yſbrydoliaeth. Ond mae yn rhaid i Anghriſt gael yſgoleigion, a'u cymhwyſo â doethineb dynol.

Yr oedd Criſt yn cyfranu iddynt yn rhâd, o'i ddoniau yſbrydol, gan orchymmyn iddynt roddi yn rhâd, fel y derbynieſynt. Ond nid yw gweinidogion Anghriſt yn cael yn rhâd; mae yn boen a thrafael fawr iddynt,

a thraul

a thraul llawer o arian; am hyny mae yn goſtus i'r neb à dderbynio oddiwrthynt. Yr oedd cènadon Duw yn galw pobl at Griſt, ffynnon y dwfr byw, fel y byddai iddynt gael yfed o ddwfr y bywyd yn rhâd, a phrynu gwin a llaeth, heb arian, ac heb werth; ond mae marchnatâwyr Babilon, yn galw pawb i'w gwerthfeydd hwynt, fel hyn, dowch attom ni a phrynwch; ac oni phrynwch, telwch; ac oni thelwch, ni á ryfelwn â chwi: Ond yr oedd yr apoſtol Paul yn dywedyd, [f] Arian, neu aur, neu wiſg neb, ni chwennychais. Ie chwi à wyddoch eich hunain, ddárfod i'r dwylaw hyn waſanaethu i'm cyfreidiau, ac i'r rhai oedd gyda mi. Ond y mae y marchnadyddion yma, yn ormod gwyr i weithio a'u dwylaw; hwynthwy à fynant arian neu aur, yd, gwlân, ac wyn, a rhan o bob cynnydd à fyddo yn eiddo y bobl.

[f] Act xx 33, 34.

Yr oedd yr apostol yn dywedyd, angenrhaid à osodwyd arnaf am bregethu yr Efengyl, ac y mae gwae i mi onis gwnaf. Ond nid oes ar y rhai hyn ddim angenrhaid am bregethu dim i neb, ond lle caffont y cyflog mwyaf. Nid oedd yr apostol yn peri iddynt gredu dynion, ond Duw, gan ddywedyd, neu à ydwyfi yn ceisio rhyngu bodd dynion? Canys, pe rhyngwn fodd dynion etto, ni byddwn wâs i Grist. Ond mae y rhai hyn am ryngu bodd dynion; am hyny nid ydynt weision Crist. Drachefn, medd yr un apostol, [g] Yr ydwyf yn hysbysu i chwi, frodyr, am yr Efengyl à bregethwyd gennyfi, nad yw hi ddynol: canys nid gan ddyn y derbyniais i hi, nag i'm dysgwyd: Eithr trwy ddatguddiad Iesu Grist. Ond y mae y rhai hyn yn pregethu athrawiaeth, yr hon à alwant yn Efengyl, wedi ei derbyn a'i dysgu

[g] Gal. i. 10, 11, 12.

oddiwrth ddynion, ac nid trwy ddatguddiad Iesu Grist: Canys maent hwy yn gwadu datguddiad ysbrydol, yn y dyddiau hyn. Medd yr un apostol, [h] Nyni á dderbyniasom, nid ysbryd y byd, ond yr ysbryd sydd o Dduw. Y rhai yr ydym yn eu llefaru hefyd, nid â'r geiriau à ddysgir gan ddoethineb dynol, ond à ddysgir gan yr Ysbryd Glân,

Ond nid yw y rhai hyn yn addefu eu bod gwedi derbyn ysbryd Duw, na'r pethau y maent yn ei bregethu, wedi eu rhad-roddi iddynt hwy gan Dduw; na chwaith eu bod yn llefaru y geiriau à ddysgir gan yr Ysbryd Glân, ond y rhai à ddysgir gan ddoethineb dynol.

Bellach mae hi yn llawn bryd i ddynion ddeffroi o gwsg, a chilio allan o Babilon am eu bywyd; canys y llef o'r nef sy yn galw, [i] Deuwch

[h] 1 Cor. ii. 12, 13.

[i] Dat. xviii. 4, 5, 8, 9, 10, 11, 12. 20.

allan o honi hi, fy mhobl i, fel na byddoch gydgyfranogion o'i phechodau, ac na dderbynioch o'i phlaau hi: oblegid ei phechodau hi á gyrhaeddasant hyd y nef, a Duw á gofioedd ei hanwireddau. Am hyny mewn un dydd y daw ei phlaau, sef marwolaeth, a galar, á newyn, à hi à lwyr losgir â thân; oblegid cryf yw yr Arglwydd Dduw, yr hwn sydd yn ei barnu hi. Ac wylo am dani, a galaru trosti, á wna breninodd y ddaiar, y rhai à butciniasant, ac à fuant fyw yn foethus gyda hi, pan welont fwg ei llosgiad, drwy sefyll o hirbell, gan ofn ei gofid hi; a dywedyd, Gwae! gwae! y ddinas fawr hono, Babilon, y ddinas gadarn, oblegid mewn un awr y daeth dy farn di. A marchnatâwyr y ddaiar á wylant ac á alarant trosti, oblegid nid oes neb mwyach yn prynu eu marchnadaeth hwynt: Sef marchnadaeth o aur, ac arian, a meini gwerthfawr, a pherlau.

dyma

Dyma y gwychder y mae y Buten wedi ei wiſgo, ſef pob math o ymddangoſiadau euraid, pob rhith o grefydd, pob math o bliſg a chibau, pob math o draddodiadau, defodau, a goſodaethau, pob llun o addoliad, gwaſanaeth, a dyledſwyddau: Hefyd gan wychu ei gweinidogion, ag aur, ac arian, gobrwyau, ac elw mawr, parch, a blaenoriaeth, ac awdurdod i reoli trwy holl heolydd y ddinas fawr; felly hwy á gyfoethogwyd drwy y farchnadaeth yma.

Ond mewn gwirionedd, mae yr amſer ger llaw, y bydd i'r Arglwydd ddwyn i ben y brophwydoliaeth hon, ſef ſyrthiad Babilon; ac yno marchnatâwyr y pethau hyn, y rhai â gyfoethogwyd ganddi, á ſafant o hirbell, oddiwrthi, gan ofn ei gofid, gan wylo, a galaru; ac nid heb achos, y bydd y rhai hyn yn wylo, ac yn galaru: Ond am golli y cyfoeth a'r anrhydedd, ac nad oes neb mwy

 à bryno

à bryno o'r ſarchnadaeth: Hefyd gan ofn ei gofid hi, a'i phoenau, a'i lloſgfeydd tragywyddol; oblegid iddynt fyw yn foethus ynddi, a bod yn gyfranogion o'i phechodau; am hyny mae ei phlaau hi i ddiſgyn arnynt.

Ond mae y lleferydd yn dywedyd, llawenâa o'i phlegid hi y nef, a chwi apoſtolion ſantaidd, a phrophwydi, oblegid dialoedd Duw arni troſoch chwi. Canys, pan agoroedd yr Oen y bummed ſel, fe á weloedd Ioan,[k] Tan yr allor, eneidiau y rhai à laddeſid, am air Duw, ac am y dyſtiolaeth oedd ganddynt: A hwy á leſaſant, â llef uchel, gan ddywedyd, Pa hyd Arglwydd, ſantaidd a chywir, nad ydwyt yn barnu, ac yn dial ein gwaed ni, ar y rhai ſy yn trigo ar y ddaiar? A gynau gwynion á roed i bob un o honynt, a dywedpwyd wrthynt ar iddynt orphwys etto

[k] Dat. vi. 9, 10

ychydig amser, hyd oni chyflawnid rhif eu cydweision, a'u brodyr, y rhai oedd i gael eu lladd megys ag y cawsynt hwythau.

Ac mewn gwirionedd, mae y saint yn y nefodd, ac ar y ddaiar, yn cydlefain at yr hwn sydd yn eistedd ar yr orseddfainc, am iddo brysuro yn ei daith, yn erbyn gallu y tywyllwch, a dymchwelyd Babilon, y bwystfil a'r gau brophwyd, a derchafu ei enw mawr; ac y mae eu gwaedd hwynt yn myned i mewn i glustiau yr Hollalluog; ac y mae ef yn darparu i estyn, ac i noethi ei fraich gadarn, i ddial gwaed y saint, a'i brophwydi, ar y ddinas fawr; ac ar ei thrigolion, ei marchnatâwyr, a'i gwyr mawrion, y rhai à buteiniasant gyda hi, a'r rhai fu yn trigo ar y ddaiar, ac à feddwasant gan win ei phuteindra hi.

Yn awr mae y dydd yn dechreu goleuo, ac mae yr Arglwydd yn

danfon, a chwedi danfon ei gènadon, i bregethu y wir Efengyl; etto er bod llawer o ddynion wedi cael eu goleuo, mewn mesur helaeth, i weled y rhith, a'r eulyn o addoliadau, sydd ymhlith plant y byd, y rhai sydd etto yn eu cnawd, yn cyflawni eu chwantau; er hyny, mae gallu y tywyllwch, ac ysbryd y byd mawr, yn rhy gadarn ganddynt i wrthwynebu; gan hyny mae yn rhaid i'r Arglwydd ddanfon etto un fyddin o filwyr dewrion, yn erbyn Babilon, y rhai a safant yn y tan poethaf, ac o flaen y saethau llymaf, a'r gelynion mwyaf creulon o eiddo Satan; a hyny heb droi mo'u gwynebau at gynnorthwy, nag amddiffyn, ond ymddiried yn gwbl yn yr Arglwydd, a sefyll yn yr arfogaeth nefol, fel wyn ymysg bleiddiaid, hyd oni chyflawner rhifedi y merthyron: Ac yna pan gyflawner rhif cydweision, a brodyr y rhai hyny, sydd tan yr allor yn aros am danynt; yna gwaed

saint

ſaint, a phrophwydi, ni thywelltir gan y buten mwy; canys yr Arglwydd á noetha fraich ei allu mawr, i ymddangos gyda ei weiſion, i ddiffoddi angerdd y tan, i gau ſafnau y llewod, i ddiflannu nerth y ſaethyddion, i daro gwerſyll yr Aſſyriaid, i agor y carcharau, ac i ddryllio y rhwymau: Felly yr Arglwydd á deifl i lawr, ac á ddryllia holl geſtyll, ac amddiffynfeydd Babilon; efe á chwyth ei wynt nerthol ar ei holl goedydd, a'i holl breniau teg, i'w gwywo, a'u diflannu.

Ac mewn gwirionedd, mae y pethau yſbrydol, a'r prophwydoliaethau, y rhai à ddatguddioedd Duw i Ioan, pryd yr oedd ef yn yr yſbryd, ar ddydd yr Arglwydd, wedi dyfod mewn meſur mawr i ben: Mae yr Eglwys yn dyfod i fyny o'r anialwch, a'r efengyl yn cael ei phregethu yn rhâd mewn amryw wledydd; a'r haul yſbrydol yn dechreu tywynu ar y byd: Ac onid ydyw y mil dau

cant

cant a'r triugain o ddyddiau, yn helaeth, wedi myned heibio, er pan aeth yr Eglwys i'r anialwch? Ac onid ydyw y ddau fis a deugain, sef yr amser à roddwyd i'r bwystfil awdurdod i weithio ynddo, yn barod i fyned heibio? Canys mae y rhifedi, á henwyd o'r blaen, o fewn ychydig i ddau fis a deugiain: Ond fe allai y deongla rhai fel hyn, y Pâb ydyw y bwystfil, ac wrth yr amser y daeth ef, ac wrth y rhifedi yma, mae iddo ef etto ynghylch cant a hanner o flynyddoedd i reoli: Ond haws genyfi feddwl, mai Satan a diafol, oedd y bwystfil cyntaf, yr hwn á weloedd Ioan, yn codi o'r mor, sef o gyflawnder a dyfnder llygredigaeth, yr hwn oedd wedi cael briw gan gleddyf, yn amser Crist a'i apostolion: Ond yn awr gwedi dadebru, a chael gan y ddraig allu i weithio, ddau fis a deugain, ac awdurdod ar bob llwyth, iaith, a chenedl; ac mai y

Pâb

[1] Pâb oedd yr ail fwyſtfil, yr hwn á godes o'r ddaiar, i wneuthur gwaſanaeth y bwyſtfil cyntaf, ac i beri i drigolion y ddaiar addoli diafol, a gwneuthur delwau iddo, a'i anrhydeddu, a derbyn ei nodau uffernol ef, ar eu dwylo, neu ar eu talcenau, fel y gellynt brynu a gwerthu; ac felly bod diniſtr Babilon wrth y drws, a'i holl ogoniant i gael ei oſod yn y llwch, a'i holl werthfeydd, a'i chyfoeth, a'i marchnadaeth, i gael eu lloſgi gan dân digofaint yr hwn ſydd yn eiſtedd ar yr orſeddfainc, ac yn byw yn dragywyddol; ac mewn gwirionedd, fe á gyfodoedd yr Arglwydd dyſtion iddo ei hun, yn yr oeſodd diweddaf hyn, i bregethu y wir efengyl, ac i gyhoeddi yn erbyn Babilon, ond nid lle yr oedd yr amddiffynfeydd mwyaf cadarn, a'r milwyr mwyaf creulon o eiddo y bwyſtfil; ond gwedi iddynt oddef

[1] Dat. xiii. 11, 12. 16, 17.

llawer

llawer yn Lloegr, a lleodd ereill, o yspail, a charcharau, a cholli o rai eu bywyd, fe weloedd Duw yn dda feddalâu calonau penaethiaid; a dwylaw yr erlidwyr á wanâoedd, a rhyddid cydwybod, mewn mesur helaeth, á ganiatâwyd, ac yna y gwaith mewn rhan á safoedd; gan hyny mae yn rhaid bod etto un cynhwrf, ac un frwydr danbaid rhwng yr Oen a'r ddraig; ac yr wyfi yn credu fod rhai wedi eu geni, o filwyr y frwydr hòno: Am hyny gweddied pob gwir Gristion ar ei Dâd nefol, am iddo brysuro yn ei daith, i dderchafu ei enw mawr, ac i waredu dynion, allan o dywyllwch Babilon, a'u dwyn i Ierusalem newydd, i fyw yno tan ei adenydd ef, ac yn ei oleuni ef, mewn heddwch, a santeiddrwydd. Amen.

Y DDEGFED

# Y DDEGFED BENNOD.

## *Yn dangos y gwir Addoliad.*

Y DUW Hollalluog, yr hwn á wnaeth ddyn, ar ei lun a'i ddelw ei hun, ac a'i cynnyſgaethoedd â deall a gwybodaeth, gan roddi iddo awdurdod i lywodraethau ar yr holl greaduriaid, mae yn ddyledus iddo gael parch, ac ufydddod, a daroſtyngeiddrwydd, yr hyn ydyw ſylwedd gwir addoliad; canys addoliad ydyw y peth y mae y byd yn gwneuthur ſwn mawr am dano, a llawer o ymrafaelio o'i blegid; llawer ffordd oſodedig wedi ei dychymmygu, gan amcanion dyn, a chan reſymau cig a gwaed, i'r dyben i geiſio bodloni yr Arglwydd heb ufyddiant. Ond addoliad yſbrydol y mae Duw yn ei ofyn, oddiwrth ei bobl; pa le, gan hyny, y mae yr addoliad yma i gael

ei gyflawni? Ond yn yr ysbryd, fel ag y dywedoedd Crist, ysbryd ydyw Duw, a rhaid i'r rhai a'i haddolant ef addoli mewn ysbryd a gwirionedd; dyma yr addoliad nad edwyn y byd mo hono, na'r lle i addoli.

Ond fe á ddyweda dynion, mae yn rhaid i ni addoli Duw yn yr Eglwys; etto mae llawer mor ddiwybod nas gwyddent pa beth yw yr eglwys, na pha le y mae hi: Gan hyny yr eglwys ydyw pobl Duw, y rhai sydd yn addoli yn yr ysbryd, sef yn Nuw, yr hwn sydd yn preswylio yn ei bobl, ac yn eu gwneuthur hwynt yn deml iddo ei hunan.

Ac er nad oes ond un eglwys, etto mae hi mewn dau fath o gyflwr, yn y rhan oddiallan; canys y wraig a weloedd Ioan, yn ffoi i'r diffeithwch, oedd yr eglwys, yr hon y mae Duw yn ei maethu yno, oddiwrth wyneb y sarff; y rhai hyn nis geill yr erlidwyr mo'u chwilio allan; mae y rhai hyn ar wasgar, drwy holl gyrau

y byd; rhai o bob enw, rhai o bob cenedl, llwyth, ac iaith, y rhai sydd yn ofni Duw, ac yn cilio oddiwrth ddrygioni: Canys fe á weloedd Ioan [m] Angel yn ehedeg y'nghanol y nef, a'r Efengyl dragywyddol ganddo, i efangylu i'r rhâi sy yn trigo ar y ddaiar, ac i bob cenedl, a llwyth, ac iaith, a phobl, gan ddywedyd, â llef uchel, Ofnwch Dduw, a rhoddwch iddo ogoniant, oblegid daeth awr ei farn ef: Ac addolwch yr hwn à wnaeth y nef, a'r ddaiar, a'r môr, a'r ffynnonau dyfrodd. Ac mewn gwirionedd, fe aeth llef yr Angel yma i holl gyrau y byd; ac y mae tyst yn mhob dyn, yn dywedyd iddo, y dyly ef ofni Duw, a rhoddi iddo ogoniant; canys mae ei farn ef oddifewn, ar galon y pechadur am ei ddrygioni: Hefyd, mae y nef, a'r ddaiar, a'r môr, a'r ffynnonau dyfrodd, a holl waith rhyfeddol y

[m] Dat. xiv. 6, 7.

greedigaeth, o flaen golygon dynion, i ddangos iddynt fawredd, a gallu, yr hwn à wnaeth y cwbl; mae hyn yn dangos iddynt, y dylai ddyn ymddarostwng o flaen Creawdwr pob peth, a rhoi addoliad, ac ufyddiant iddo: Hefyd, hwy á oleuwyd â'r goleuni, yr hwn fydd yn goleuo bob dyn â ddaeth i'r byd, yr hwn yw goleuni y bywyd: A'r rhâd yr hwn fydd yn dwyn yr iechydwriaeth, wedi ymddangos iddynt, i ddyfgu iddynt ofni Duw, a chilio oddiwrth ddrygioni, fel y byddont yn gymmeradwy.

Ond pa le, neu pa fodd, y mae y rhai hyn yn addoli, yn gymmaint a'u bod hwy etto heb eu cafglu i addoli wrthynt eu hunain? Y mae yn debyg fod rhai o honynt yn perthyn i bob math o'r eulyn-addoliadau fydd ymhlith plant y byd; ond nid yw eu haddoliad hwy yn fefyll yn y pethau à wel eu golygon, neu y pethau y mae eu clustiau hwy yn ei glywed,

ond yn narostyngiad eu calonau, a'u heneidiau, a'u hysbrydodd, yn y dyn oddimewn, o flaen Duw Hollalluog; ac nid yw yr addoliad yma wedi ei rwymo wrth ddyn, nag wrth le, nag wrth amser, ond pan drothont hwy i mewn iddynt eu hunain, ac i'r Arglwydd dòri ar eu calonau, mewn ystyriaeth o'i drugareddau, a'i waredigaethau, ei gariad, a'i amgeledd tuag attynt; ac yn yr iselder yma, a'r tylodi ysbrydol, mae eu calonau hwynt yn cael eu tyneru, a'u heneidiau, a'u hysbrydodd, yn cael eu cyd-dyneru: Ac dyma yr addoliad, y mae Duw yn ei dderbyn yn gymmeradwy, oddiwrth bob un yn neillduol, pryd y bydd y dyn heb neb ond efe a'r Arglwydd: Dyma gyflwr yr eglwys wasgaredig, a'i haddoliad, yr hwn sydd yn yr ysbryd, allan o olwg dynion; o'r fath hyn oedd y saith mil, oedd gan yr Arglwydd yn nyddiau Ahab: Ond y lle, a'r pryd,

 y byddo

y byddo i'r rhai hyn ddyfod i adnabod eu gilydd, ac i'r Arglwydd gasglu rhai o honynt, at eu gilydd, i gydaddoli, yr un yw yr addoliad, ac yn yr un tylodi ysbrydol y maent yn addoli: Herwydd addoliad tylawd yw yr hwn y mae Duw yn edrych arno. Canys, [n] Gwyn eu byd y tylodion yn yr ysbryd: Canys eiddynt yw teyrnas nefodd: Canys â'r cyfryw yr ymwel yr Arglwydd, sef â'r tylawd, a'r truan, a'r cystuddiedig o ysbryd: yr hwn sydd yn crynu wrth fy ngair i, medd yr Arglwydd. [o] Felly y mae ei addewid ef: lle y byddo dau neu dri, wedi ymgynnull yn fy enw, myfi á fyddaf yn eu canol hwynt. Mae yr addoliad yma yn dylawd; oblegid nid oes gan y rhai tylodion hyn ddim gwedi ei fwriadu, na'i ddarparu yn mlaenllaw, i'w ddywedyd, nag i'w wneuthur, ond dysgwyl wrth yr Arglwydd, am iddo ef barotoi aberth

[n] Mat. v. 3. [o] Mat. xviii. 20.

iddynt,

iddynt, yr hwn á fyddo yn gymmeradwy yn ei olwg ef; canys mae efe gwedi addo rhoddi o'i yſbryd i'w bobl, a'u dyſgu hwynt ei hunan, ac amlygu iddynt pa beth i'w ddywedyd, ac i'w wneuthur.

Ac dyma ý rhagoriaeth, ſydd rhwng y wir eglwys, yr hon y mae Criſt yn ben iddi, yn flaenor, ac yn dywyſog, a'r eglwyſi eulyn-addolgar, y rhai ſydd wedi eu trwſio eu hunain â ffurf oſodedig o wasanaeth, ac addoliad: pan ddelont ynghyd mae pob beth gwedi ei wneuthur yn barod; mae digon o hen weddiau i'w darllen, i lenwi cluſtiau y bobl; a pha rai o honynt ſydd yn perthyn i'w darllen heddyw, a pha rai y dydd addoliad neſaf, a pha can lleied o'r yſgrythyrau ſydd i'w darllen ar bob dydd addoliad; mae hefyd bregeth wedi ei bwriadu, a'i threfnu o'r blaen, trwy ddoethineb dynol; felly nid oes arnynt eiſieu dim, oddiwrth yr Arglwydd; mae pob peth yn

barod; nid oes dim ond myned ar y gwaſanaeth, yn eu hamſer eu hunain, ac yn eu hewyllys eu hunain, ac yn eu gallu eu hunain, heb ddyſgwyl wrth yr Arglwydd am help, a chynnorthwy; nag am yr Yſbryd Glân, i'w dyddanu, ac i'w cyſuro, ac i fod gyda hwynt, yn fywyd ac yn oleuni, i'w harwain, ac i'w tywys yn eu gwaſanaeth: Canys heb y goleuni, ſef Criſt, nis gallwn ni wneuthur dim à fyddo yn gymmeradwy; ond y gwir addolwyr, pan ddelont hwy ynghyd, achos a pherthynas pob un yn neillduol ydyw, troi i mewn, i roddi ei galon, a'i feddwl, i ddyſgwyl wrth yr Arglwydd, am ei gynnrycholder i adnewyddu eu heneidiau; ac y mae eu gweddiau hwynt yn y dirgel, at eu helpwr, am iddo ef ymddangos yn ei deml, i fwrw allan y prynwyr, a'r gwerthwyr, fel y byddo iddynt adnabod gwir ddyſtawrwydd, yn y dyn oddimewn, oddiwrth bob ſwn cnawdol, a rheſymau cig a

gwaed,

gwaed, fel y gallont, yn y tawelwch a'r amynedd, feddiannu eu heneidiau, a'u hymchwelyd eu hunain i law eu Tâd nefol, fel y clai yn llaw y crochenydd, nes y byddo iddo ef gymhwyso pob un i'r gwasanaeth y byddo wedi ei ddarparu iddo.

Felly yn y wyliadwriaeth ddystaw yma, mae eu nerth hwynt yn cael ei adnewyddu; fel y mae yn ysgrifenedig, y sawl á ddysgwyliant wrth yr Arglwydd, hwy á adnewyddant eu nerth. Yn y gwir ddystawrwydd yma, maent yn eistedd tan ddysgeidiaeth yr enneiniad, yr hwn y maent yn ei dderbyn oddiwrth y [p] santaidd hwnw, yr hwn yw ysbryd y gwirionedd, yr hwn sydd yn tywys i bob gwirionedd; ac fel ag y mae hwn yn aros ynddynt, nid oes arnynt eisieu neb i'w dysgu, ond mae yr un enneiniad yn dysgu iddynt bob peth; [q]a'r pryd y gwelo Duw yn dda roddi gair y'ngenau neb o honynt, mae hwnw i ddywedyd,

[p] 1 Ioan ii. 27. [q] 1 Ioan xiv. 24. 26.

y peth

y peth y byddo yr Arglwydd wedi ei ddatguddio a'i ddyſgu iddo. Felly mae ef i roddi allan yn eglurâad yr[f] yſbryd, a'i nerth, ac yn y rhinwedd a'r bywyd, fel y byddo er adeiliadaeth yn yr eglwys; canys mae dyfnder yn galw a'r ddyfnder, a bywyd yn cyrhaedd at fywyd, a'r gynnulleidfa yn cyd-fyned i'r dyfrodd, i yfed yn rhâd: Yna os datguddir dim i'r un à fyddo yn eiſtedd ger llaw, mae y cyntaf i ddyſtewi, oblegid mae y ffrwd hòno o ddawn yſbrydol yn cael ei throi at olwyn y dyn arall; canys mae y rhyddid yſbrydol hwnw, yn y wir eglwys, i bob un, i lefaru megys ag y cynhyrfer hwynt, gan yr Yſbryd Glân; ac fel y tywallto yr Arglwydd arnynt yſbryd y rhâd a gweddi, maent i weddio â'r yſbryd, ac yn yr yſbryd, fel y byddo Duw yn datguddio iddynt ddiffyg, ac anghenion y gynnulleidfa. [g] Felly dyma yr eglwys, yr hon ſydd yn

[f] Pſal. xlii. 7. [g] Can. viii. 5.

dyfod

dyfod i fyny o'r anialwch, â'i phwys ar ei hanwylyd; dyma hefyd yr addolwyr, a'u haddoliad; ac fel y mae yſbryd Ieſu Griſt yn arweinydd iddynt, yn eu haddoliad, efe hefyd ſydd i'w trefnu yn eu bywyd, a'u hymarweddiad, a'u holl achoſion, gan ddyſgu iddynt garu eu gilydd; a gofalu dros eu gilydd, am fod pob aelod yn cadw ei le ei hunan, ac yn dyſgu gan ei athraw, i wneuthur y gwaſanaeth, y mae efe wedi ei gymhwyſo ef iddo, ac yn ei oſod ef arno; ac am y byddo pob un yn byw bywyd a buchedd lân, mewn diniweidrwydd, a ſymlrwydd calon, a'i olwg ar ei athraw.

Nid yw lle yr un i wthio, neu yru y llall yn y blaen; ar yr un gorchwyl, o eiddo yr Arglwydd, cyn iddo ef ei gymhwyſo at y gwaith, a'i ddangos iddo, a dal ei oleuni o'i flaen ef, i oleuo ei lwybrau; gan hyny, fel y mae pob gwir Griſtion i gael ei drefnu, a'i dywys yn mhob

peth,

peth, gan yſbryd y gwirionedd; felly nis dyly dim lywodraethu yn eglwys Criſt, ond yſbryd Criſt.

Ac yn gymmaint nad oes yr un dyn yn wir Griſtion, nac yn eiddo Criſt, ond yr hwn y mae ganddo ei yſbryd ef, nid oes yr un gynnulleidfa yn wir eglwys, nac yn ddefaid iddo, ond y rhai ſydd yn ei adnabod ef, yn gwrando ar ei lais, ac yn ei ddilyn. I'r cyfryw y mae ef yn ben, ac yn fugail, yn frenin, ac yn llywydd, i'w trefnu wrth ei orchymmyn, a'u harwain i'r porfeydd breiſion, a'u diodi â dwfr y bywyd, fel y byddont fyw yn dragywyddol, gyda'r Tâd a'r Oen, a rhodio yn y gwiſgodd gwynion, o flaen yr orſeddfainc, i ganu Alelwia i'r hwn ſydd yn byw yn dragywydd: I ba un y mae ufydddod, parch, ac anrhydedd, yn deilwng, ac yn ddyledus; i ba un y byddo yn cael ei ddychwelyd, o'r pryd hyn byth, ac yn dragywydd.

DIWEDD.